# ADNODAU DYRYS

# Y TESTAMENT NEWYDD.

— GAN Y —

PARCH. O. WALDO JAMES,

KINGSTON, PA.





UTICA, N. Y.

T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, 131 GENESEE ST.

1887.

# Y CYFLWYNIAD.

---

I SWYDDOGION AC AELODAU EGLWYS Y BEDYDDWYR YN EDWARDS-DALE, PA.,

ANWYL FRODYR A CHWIORYDD:

YR YDWYF YN CYFLWYNO YR EGLURIADAU CANLYNOL AR

"ADNODAU DYRYS Y TESTAMENT,"

I CHWI, YN GYMAINT AG MAI AR EICH CAIS CAREDIG CHWI Y CYHOEDDIR HWY YN Y FFURF BRESENOL; A'M

DYMUNIAD

YDYW, I'R GYFROL FECHAN HON FOD YN GOF-ARWYDD O'CH HYNAWSEDD TUAG ATAF, AC O'R BERTHYNAS DDEDWYDD A FODOLA RHYNGOM. YR YDWYF HEFYD

YN DEISYF

AR DDUW DROSOCH, AR I CHWI GAEL EICH CYFOETHOGI FWY, FWY, "A GWYBODAETH EI EWYLLYS EF, YN MHOB DOETHINEB A DEALL YSBRYDOL."

YDWYF, EICH GWASANAETHWR,-

YR AWDWR.

# Y CYFARCHIAD.

---

ANWYL DDARLLENYDD:

Yr hyn a'n tueddodd i ymgymeryd a'r gorchwyl o ysgrifenu cyfres o erthyglau ar "ADNODAU DYRYS Y TESTAMENT," ydoedd, aneglurder ein gwybodaeth bersonol am eu dysgeidiaeth. Er yn fachgen, a thrwy flynyddau ein hymgydnabyddiad â llenyddiaeth Feiblaidd, sylwasom mai ychydig iawn o lyfrau sydd wedi eu dyweddïo yn hollol i'r gangen hon o ddeongliadaeth; yn wir, nis gwyddom am gymaint ag un yn yr iaith Gymraeg, ac am ond nifer fechan yn yr iaith Seisoneg. Hyd yn hyn, ni cheir goleuni beirniadol ar yr adnodau hyn ond yn unig mewn esboniadau drudfawr, a thraethodau gwasgaredig, llawer o ba rai sydd yn anadnabyddus i gyfangorph ein cenedl; ac hyd yn nod pe y buasid yn gwybod am danynt, ac yn awyddus am eu meddianu, y mae uchelder eu prisiau yn eu gwneyd yn anghyrhaeddadwy. O herwydd hyn, yr ydym wedi bod yn cario yr argyhoeddiad, dros flynyddau, y cyfarfyddai ymgais gyffelyb i hon â ffafr, gyda miloedd o edmygwyr Llyfr Duw.

Tra wrth y gwaith o fyfyrio y gwahanol destynau, ac ysgrifenu arnynt, daethom o hyd i oludoedd o ddeongliadau, a gwnaethom ein meddwl i fyny, yn hytrach na rhithio gwreiddioldeb, i'w trosglwyddo i lygaid a deall y darllenydd. Yn credu fod defnyddioldeb yn bwysicach na gwreiddioldeb, ni ataliasom ddim o'r "pethau sydd dda a buddiol i ddynion" oddiwrthynt. Cyfrifa hyn am amlder y dyfyniadau a geir yn nghorph y gyfrol.

Y mae yn ddiau y sylwir ein bod, mewn llawer o amgylchiadau, wedi beiddio datgan ein hanghydwelediad a rhai o'r beirniaid

uwchaf a duwiolaf. Yr ydym yn gobeithio na chamddeallir yr ymarferiad hwn o hawlfraint bersonol, yn enwedig gan ein bod, yn mhob achos o'r fath, wedi gosod i lawr ein rhesymau dros yr anghydweledìad.

Drwy garedigrwydd y Parch. T. C. Edwards *(Cynonfardd)*, yr ydym yn alluog i osod ger bron, syniadau gwahanol i'r eiddom ein hunain ar yr adnodau a ddaliant gysylltiad a'r ordinhad o fedydd, yr hyn, ni a gredwn, a sicrha nid yn unig dderbyniad eangach i'r llyfr, ond hefyd wasanaeth mwy pan ddygwyddo yr adnodau hyny fod yn destyn ymddyddan. Addawodd ein hanwyl gyfaill yr ysgrifau hyn tra yn nghanol ei lafur amryfal, a chyflawnodd ei addewid tra yn ddyoddefydd oddiwrth nychdod —wedi gor-lafur.

Y mae llawer o adnodau, heblaw y rhai yr ysgrifenir arnynt yn y tu dalenau canlynol, "yn y rhai y mae rhyw bethau anhawdd eu deall, y rhai y mae yr annysgedig a'r anwastad yn eu gwyr-droi, megys yr ysgrythyrau eraill, i'w dinystr eu hunain;" y rhai hefyd, pe yr ysgrifenem arnynt "bob yn un ac un," fuasai yn chwyddo maintioli a phris y llyfr i raddau annymunol. Y tebygolrwydd ydyw, os yr arbedir ni gan yr Arglwydd, y cyfarfyddwn ein gilydd drachefn ar yr un maes.

Yn hyderu y cenfydd dosbarthiadau Beiblaidd, athrawon yr ysgol Sul, ac yn wir holl gyfeillion yr Ysgrythyr Lān, gynorthwyau yn y llyfr i ddeall meddwl yr Ysbryd, y gorphwysaf.

Yr eiddoch yn ddiffuant,

O. WALDO JAMES.

*Kingston, Pa., Hydref* 24, 1887.

# Y CYNWYSIAD.

# ADNODAU DYRYS Y TESTAMENT.

## Y MEIRW I GLADDU Y MEIRW.

"Gad i'r meirw gladdu eu meirw."—Mat. viii. 22.

Yr ydym yn awyddus i ddeall y frawddeg hon, nid yn unig er gwybod pa beth a ddywedodd Crist wrth y dyn a fynasai fod yn ddysgybl iddo, ond hefyd oblegid y credwn fod yn y frawddeg egwyddor yn cael ei datgan mewn ffordd ddyeithr, mae yn wir, ond y mae ei deall, er hyny, yn ddichonadwy, a'i deall hefyd yn hanfodol i ddysgyblion Crist holl oesau y ddaear. Yn yr ymgais i'w deall, yr ydym yn teimlo fod yr

YMHOLIADAU

canlynol, a'r atebion iddynt, yn ymwthio i'w hanhawsderau, ac yn cyfodi i fyny yr hyn a orwedd dan ei harwyneb; sef, Pwy sydd i'w ddeall wrth y meirw cyntaf yn y frawddeg? Pa un ai rhai yn feirw mewn ystyr ffigyrol, neu rai yn feirw mewn ystyr lythyrenol ydynt? Ai yr un synwyr a fedd y gair *meirw* yn nechreu a diwedd y frawddeg? A ellir, trwy ddeongliad teg, ganfod gradd o angharedigrwydd yn atebiad yr Iesu i'r ymofynydd hwn? Pa beth all fod y rheswm i Grist wahardd iddo fyned i gyflawni dyledswydd mor gysegredig a myned i gladdu ei dad? A fuasai

claddu ei dad yn ei anghymwyso i bregethu yr efengyl? Ai rhai annychweledig sydd i gladdu y meirw o dan yr efengyl? A ydyw y prawfiedydd a roddwyd o ddidwylledd y dyn hwn yn engraifft o brawfiedyddion anhawdd eraill yr arferai Crist i'w rhoddi i'w ganlynwyr? Fel y gellid dysgwyl, y mae gwahanol farnau yn mysg esbonwyr yn nghylch ystyr y geiriau a ddefnyddir; ac hefyd yn nghylch amcan y Gwaredwr yn eu llefaru o gwbl o dan y fath amgylchiadau. Fel engreifftiau o'r gwahanol farnau hyn, sylwn ar a ganlyn:

1. "Bydded i'r rhai ydynt yn ysbrydol farw, y rhai ydynt heb gael un alwad i ddylyn Crist, gladdu y rhai sydd yn naturiol farw. Oddiwrth Luc ix. 59, ymddengys fod y dyn hwn wedi derbyn gorchymyn arbenig i ddylyn Crist, ac yr oedd yr ateb hwn yn golygu prawf i'w ffydd a'i ufudd-dod. Fel yr Archoffeiriaid a'r Nazareaid, nid oedd hwn i gyffwrdd a chorph marw. Lef. xxi. 10, 11; Num. vi. 6, 7."—(Deon Mansel yn y *Speak. Com.*, ar y cysylltiad hwn.) Gwelwn fod yr awdurdod hon yn cyffwrdd a thri golygiad, sef mai meirw ysbrydol ydynt y meirw cyntaf; mai prawfiedydd i ffydd y dyn ydoedd y gorchymyn, ac y dichon fod y Gwaredwr yn gwahardd iddo fyned i gladdu ei dad, oblegid fod hyny yn golygu halogedigaeth seremoniol. Y mae yr eglurhad hwn mor wasgarog ac anmhenderfynol, fel nas gallwn lai na chyduno ag un adolygydd dysgedig (*Expositor*, vol. viii., p. 155), i'w gyhoeddi yn siomedigaethus, gan y gallem ddysgwyl amgenach oddiwrth berchenog meddwl mor wreiddiol a dysgybledig.

2. "Y mae y cais a wneir gan fab am fyned i gladdu

ei dad, yn hynod deimladwy. Ymddengys nid yn unig yn naturiol, ond hefyd yn ganmoladwy. Y mae y gorchymyn awdurdodol, o ganlyniad, yn dangos y perygl a all ymgodi oddiwrth gyflawniad hyd yn nod y dyledswyddau mwyaf rhwymedig. Ni ddylid caniatau i achosion daearol, pa fodd bynag, rwystro gwarogaeth uniongyrchol yr enaid i Grist." (Dr. J. Campbell's *Expos. Fam. Bible* ar y lle.)

3. "Y mae y *nekrous* (meirw) cyntaf (ac nid yr ail hefyd, fel y mae Wiesse yn anmhriodol yn dal), yn dynodi y *meirw ysbrydol*, (cym. ar iv. 16, ar Ioan v. 21—25, ac ar Luc xv. 24), y rhai ydynt heb y bywyd ysbrydol sydd yn dyfod drwy Grist. Y mae yr ail yn llythyrenol—y meirw perthynol i'w cylchoedd eu hunain. Y mae Fritzche yn deongli yn llythyrenol yn y ddau achos—"Bydded i'r meirw yn eu mysg eu hunain gladdu eu gilydd," yr hyn sydd fath o anghyfdyb (*paradox*) mewn ffordd o wrthodiad i'r deisyfiad. Y fath olwg ddiystyr ydyw hon ar ffordd feddylgar Crist o siarad! Rhaid barnu llymder ymddangosiadol atebiad Crist (yn wahanol i Wiesse, Bruno, Bauer), drwy ystyried yr angenrheidrwydd a welai o ysgariaeth benderfynol ac uniongyrchol, mewn cymhariaeth i'r perygl gwrth-gyferbyniol.—(*Chrysostom.*)—Cym. x. 37."—(Meyer's Crit. and Exeg. Com. ar y testyn.)

Wedi dylyn Meyer i'r rhanau y'n cyfeirid, am yr ystyr a rydd i'r gair *meirw*, nid ydym yn cael ond arddangosion o'r gwirionedd fod y Beibl oll yn ystyried "absenoldeb o weithrediad bywydol, yr hwn sydd yn cydnabod y gwirionedd," yn arwydd sicr o farwolaeth ysbrydol. Nis gall neb anghytuno a'r esboniad dysg-

edig ar y pen hwn, ond, fod i'r gair *meirw* ystyr arall hefyd, a gydnabyddir ganddo ef ei hun yn ei nodiadau ar y frawddeg dan sylw.

4. "Y mae y dosran hwn, a'r un cydredol yn Luc ix. 60, wedi rhoddi trafferth i esbonwyr, ac y mae amryw ddyfaliadau wedi eu ffurfio, ac egluriadau wedi eu rhoddi o hono. Un amcandyb ydyw, mai y testyn Groegaidd yn wreiddiol ydoedd, 'Gad y meirw i'r rhai y mae eu swydd i gladdu y meirw.' Ond nid ydyw yn debyg y buasai yr un amryfusedd yn dygwydd yn y ddau le (Luc hefyd), ac heblaw hyny, y mae y fath ddiwygiadau amcandybiol yn cael eu hanghymeradwyo yn gyfiawn gan y beirniaid goreu. Yr arwyddocad ydyw, Gad i'r rhai sydd yn ysbrydol farw, y rhai sydd yn farw mewn camweddau a phechodau, neu y rhai ydynt yn annheimladwy i achosion enaid, ddefnyddio eu hunain i gladdu y rhai, yn ystyr gyffredin y gair, ydynt yn feirw; neu, mewn geiriau eraill, 'Na thro ymaith at achosion tymorol, ond gad hwy i'r rhai ydynt yn hollol ymlynol wrthynt.'"—(Valpy's N. T. with Eng. Notes, on Matthew.)

5. "Nid yw ein Harglwydd i gael ei ddeall fel yn llefaru yn erbyn, neu yn anmharchus am gladdu y marw—y mae ei eiriau yn cynwys y dylai gael ei wneuthur; ond yn unig nad oedd yn iawn i'r person hwn fod yn ei gylch yr amser yma, yr hwn oedd wedi cael ei alw i uwch swydd, a chan hyny dylai adael y gwaith o gladdu i gael ei wneuthur gan bersonau i'r rhai yr oedd yn gweddu yn well. A pha mor ddyeithr ac anghynefin bynag y gall y fath ymadrodd swnio yn nghlustiau rhai, i un marw gladdu un arall, yr oedd

yn cael ei ddeall yn hawdd gan Iuddew, gyda pha un peth cyffredin yw dywedyd, 'fod pechadur yn cael ei gyfrif megys marw,' a bod 'dynion annuwiol, tra y maent yn fyw, yn cael eu galw yn feirw.' Ac yn yr ystyr hyny y mae y gair yn cael ei arferyd yn y rhan flaenaf o'r geiriau, a meddwl Crist yw, 'Bydded i'r fath ag sydd yn feirw mewn camweddau a phechodau, ac i bob peth sydd yn ysbrydol dda, gladdu y rhai hyny ag sydd yn feirw mewn ystyr naturiol a chorphorol.' "—Dr. J. Gill, yn ei Esbon. ar Mat.)

6. "Y mae ein Harglwydd yn eglur yn bwriadu dau fath o farwolaeth, y rhai cyntaf ysbrydol, yr ail corphorol, neu naturiol. O'r braidd y mae yn gywir i ddywedyd fod y cyntaf yn ffigyrol. Marwolaeth ydyw ymataliad bywyd, a'r sefyllfa sydd yn dylyn hyny. Megys y mae llawer o fathau o fywyd, (peirianol, teimladol, deallol, ysbrydol, &c.); y mae cynifer a hyny o fathau o farwolaeth. Y mae y rhai nad ydynt wedi eu bywhau gan Ysbryd Duw, a'u gwneuthur yn 'fyw i Dduw,' er eu bod mewn cyflawn feddiant o'r mathau iselaf o fywyd, yn wirioneddol ac yn llythyrenol farw gyda golwg ar y math uwchaf o fywyd. Eph. ii. 1, 5–14."—(Conder's Com. on Mat. ar y lle hwn.)

7. "Y mae dywediad caled ein Harglwydd yn deilliaw oddiwrth sel losgedig ei gariad er iachawdwriaeth y byd. Y mae yn ymafael yn nghenadwr ei fywyd, fel na fuasai i'r gwaith bywyd-gyfranol gael ei rwystro trwy ei ofal am y 'claddu.' Megys mewn ysbyty mawr, lle y mae llawer yn marw bob awr, mai unig ofal y meddyg ydyw iachau a gwaredu, gall eraill argymeryd

a'r gwaith o gladdu, nid oes ganddynt *hwy* ddim amser at hyny."—(Stier ar yr adnod.)

8. "A oedd ei dad wedi marw, neu ynte yn agos i farw? Os y cyntaf, gallwn roddi cyfrif am atebiad yr Iesu ar yr ystyriaeth ei fod ef yn gwybod pa effaith a gai yr angladd, a rhaniad yr etifeddiaeth, ar fwriad presenol y dysgybl. Os yr olaf, yr hon yw y dyb fwyaf tebygol (Gen. xxvii. 41), y mae yr Iesu yn dangos fod mwy o rym mewn gorchymyn dwyfol nag sydd mewn dyledswydd naturiol. Y mae hawliau yr Iesu i'w parchu o flaen pob hawl arall. Y meirw sydd i'w claddu ydyw y meirw naturiol; y meirw ag y gadewir hyn i'w gofal ydyw y meirw ysbrydol, (Ioan v. 25; Ephes. ii. 1, &c,), y rhai sydd yn fwy cymwys i gladdu y meirw nag i bregethu teyrnas Dduw. 'Mewn amser o bla,' ebe Bengel, 'cleddir y meirw gan y rhai sydd yn debyg o farw eu hunain yn fuan.' Efallai fod y drychfeddwl yn debyg i hyn: 'Paid a phryderu am y marw; gad y gwaith o'i gladdu i rywun; dylyn di fi."—(Test. yr Ysg. Sab. ar y lle hwn.)

9. "Rhaid peidio celu, modd bynag, fod ysgrifenwyr ysbrydoledig ac anysbrydoledig yn fynych yn meddwl wrth y *meirw* nid yn unig y rhai ydynt mewn ystyr naturiol yn feirw, ond y rhai hefyd ydynt felly mewn ystyr ysbrydol, o herwydd eu bod yn ymddyeithrio oddiwrth fywyd Duw, ac yn feirwon mewn camweddau a phechodau. Fel hyn y mae Clemens, Alexandria, yn ein hysbysu fod athroniaeth y barbariaid yn galw y rhai oeddynt wedi gadael eu hathrawiaethau, a darostwng eu meddyliau i bleserau cnawdol, yn feirw, yr hon farwolaeth a eilw Philo yn farwolaeth enaid, wedi

ei feddrodi mewn nwydau a phob math o ddrygioni. O ganlyniad, llawn feddwl geiriau ein Gwaredwr raid fod, 'Bydded i'r rhai sydd yn ddiofal am bethau Duw, ac yn anaddas i'r gwaith o'u hyrwyddo, gyflawni y fath swyddedigaethau, y rhai a allant wneyd yn gystal ag eraill; ond tydi yr hwn a ddechreuaist fy nylyn, ac ymroddi i deyrnas Dduw, dos yn mlaen yn dy benderfyniad, heb ganiatau i ti dy hun un alwad ymaith oddiwrth y gwaith hwnw."—(Hammond & Whitby's Annotations ar y frawddeg.)

Wrth ail edrych dros y gwahanol farnau uchod, a barnau esbonwyr cyffelyb a gynrychiolant, gwelir fod y byd esboniadol yn ymranu i bedwar dosbarth ar y geiriau hyn. Y dosbarth

(1.) Ydyw y rhai a haerant fod y meirw cyntaf yn y frawddeg yn cyfeirio at gladdwyr cyflogedig.

Megys pe dywedasai yr Arglwydd, "Paid ag ymgilio o'm gwasanaeth er myned i gladdu dy dad, oblegid yn sicr ni fydd corph dy dad heb ei gladdu, gan y bydd y rhai a enillant eu bywoliaeth wrth gladdu y meirw yn gwylio y cyfleusdra, ac yn gwbl barod at y gwaith. Dosbarth yr

(2.) Ydyw y rhai a ddywedant fod y gwaharddiad i'w ddeall oddiar safle Iuddewig, ac fod y Gwaredwr am i'r dyn ymgadw rhag llygredigaeth seremoniol.

Yn ol y syniad hwn, fel hyn, mewn arall-eiriad, y dywedai Crist, "Paid ti, yr hwn wyt i bregethu efengyl fy nheyrnas, ag aflaneiddio dy hunan gyda meirwon, oblegid ni oddefid i swyddogion cysegredig y deml gynt aflaneiddio eu hunain a'r fath wasanaeth, a bydd claddu dy dad yn dy anghymwyso dithau at y gwaith

y gelwais di iddo." Y mae dystawrwydd unedig yr hanes am y fath awgrym, yn ogystal a'r ffaith fod y syniad yn milwrio yn hollol yn erbyn dysgeidiaeth Crist ac ysbryd Cristionogaeth, yn peri ein bod yn credu nad hwnyna yw meddwl priodol y frawddeg. Dosbarth

(3.) Ydyw y rhai a haerant fod y gair meirw cyntaf yn golygu meirw ffigyrol neu ysbrydol, ac fod y gair meirw olaf yn golygu meirw llythyrenol neu naturiol.

Mai yr hyn a ddywedai Crist felly ydoedd a ganlyn: "Y mae cyflawnder o ddynion cnawdol ac annychweledig, y rhai nad ydynt wedi eu galw i'm gwasanaeth, a allant dalu y gymwynas olaf i gyrph meirw eu cyfeillion, ond am danat ti, sydd wedi dy alw, nis gelli fforddio yr amser at hyny." Y gwrthwynebiad a deimlwn i'r feddyliaeth hon ydyw, ei bod yn rhoddi dwy ystyr wahanol i'r un gair, yn yr un frawddeg, a hyny pan y mae y gair, yn y ddwy engraifft, yn hollol yr un fath o ran ffurf a tharddiad, a phan hefyd yr ymddengys nad oes rheswm digonol yn galw am hyny. Yn ychwanegol at hyn, nid ydyw Cristionogaeth yn gosod y ddyledswydd o gladdu y meirw ar ysgwyddau y rhai annychweledig, y mae gan 'wyr bucheddol,' megys y rhai a fu yn cario y merthyr cyntaf i'w fedd, berffaith ryddid i fyned i angladdau eto. Y pedwerydd dosbarth

(4.) Ydyw y rhai a haerant mai yr un synwyr ddylid roddi i'r gair meirw yn nechreu a diwedd y frawddeg.

Nid ydyw yr esbonwyr a ddadleuant felly, mae yn wir, yn lluosog mewn nifer, ond y maent yn meddu cymeriad uchel yn mysg ysgolheigion Beiblaidd.

Gwnant hwy i'r frawddeg olygu hyn: "Cladded y meirw eu gilydd, ond dos di a phregetha efengyl fy nheyrnas." Gwrthddadleuir yn erbyn y deongliad hwn, oblegid ei fod yn priodoli gwrthuni i'r Arglwydd Iesu—fod yna annichonolrwydd i feirw gladdu meirw; ond yn yr annichonolrwydd hwnw y gorwedd hyfder, grymusder, a chyfaddasrwydd y gwaharddiad. Fel hyn:

Gad i'r meirw gladdu eu meirw.
Nis gall y meirw gladdu eu meirw.
Bydded y meirw heb eu claddu.
Dos di a phregetha efengyl y deyrnas.

Tueddir ni i fabwysiadu y deongliad hwn, a hyny yn llawer oblegid nad yw yn priodoli i Grist unrhyw nodwedd ddyeithr fel dysgawdwr. Arferai yn fynych ddefnyddio ymadroddion annysgwyliadwy a synfawr, megys camel a chrai nodwydd ddur, ond yn benaf oblegid fod deall y geiriau yn yr ystyr hwn yn datguddio caledi y prawfiedydd o ufudd-dod a roddodd yr athraw i'r dysgybl hwn. Nid oes neb yn amheu nad er profi didwylledd a ffyddlondeb y dyn hwn y dywedodd Crist y fath eiriau wrtho; ac y mae yr eglurhad uchod yn ymddangos i ni fel yn taflu goleu nertholach ar y dewisiad y gwnaethpwyd i'r dyn ei wneyd rhwng hawliau perthynasaeth a hawliau Crist nag un arall. Edrycher ar galedi y prawf y gosodwyd y dyn ynddo yn ol y deongliad hwn. Ystyrier y person oedd yn galw am ei gladdu—tad. A meddylier am y canlyniadau i'r corph, ac i anrhydedd y mab o adael y tad yn anghladdedig; a meddylier drachefn am unigolrwydd y cyfleusdra i'r mab ddangos ei ymsyniaeth o ddyled-

swydd—dyma y cyfle olaf—ei gladdu. Yn gyferbyniol i hyn oll, wele yr Arglwydd Iesu yn hawlio aberthiad llwyr o bob ystyriaeth o'r fath. Pa un a gaiff fwyaf o ddylanwad arno, corph ei dad yn galw am ddaear, neu lais Crist yn galw am efengylu? A sylwer yn mhellach; nis gallasai gyflawni y ddwy ddyledswydd. Os myned i bregethu yr efengyl, nis gallasai fyned i gladdu ei dad. Os myned i gladdu ei dad, nis gallasai fyned i bregethu yr efengyl. Pa un a wna, gadael ei dad heb ei gladdu, neu adael yr efengyl heb ei phregethu? Yn yr engraifft hon, megys mewn llawer o engreifftiau eraill, gwelir fod yr athraw, er sicrhau serch anghyfranogol y dysgybl, yn ei brofi drwy hawlio yr aberth mwyaf oddiwrtho. Yr un modd y gwnaeth a'r "dyn ieuanc" yn yr efengyl. Nid gosod ger ei fron reolau symlaf brawdgarwch, megys caru, gwasanaethu, ond dechreuodd drwy osod i lawr reol eithafol ac eithriadol brawdgarwch. "Dos, gwerth yr hyn oll sydd genyt, a dyro i'r tlodion," &c. Yn y prawf hwn datguddiwyd gwendid y dyn ieuanc ar unwaith. Yn ol yr un egwyddor, y mae yn hawlio gan eraill, pan mae darfoddiant cnawdol yn eu rhwystro i'w wasanaethu yn gyflawn, ar iddynt dori ymaith yr aelodau hyny sydd yn offerynau pechod, pa un bynag ai y llygad, y troed, &c. Y pethau anwylaf gan ddynion ydynt tadau, mamau, brodyr, chwiorydd, tai, tiroedd, &c., ond y mae amgylchiadau wedi bod, ac yn parhau i fod, pan yr hawlia Crist ymadawiad a'r cwbl; myn fod yn ddim neu yn bobpeth yn serchiadau ei bobl. Nid oedd y pryder a deimlai y dyn dan sylw, i ymyraeth a hawliau Crist arno. Pe buasai ei dad heb ei gladdu

byth, nid oedd ef i ymgilio o wasanaeth Crist. Y mae yr amgylchiad hwn, yn nghyda'r modd yr ymdrinia Crist ag achos y ddau eraill y sonia yr efengylydd Luc am danynt (Luc ix.), yn dysgu i ni pa fath ddynion y dylid eu cymell yn awr i bregethu yr efengyl; a hefyd yn cynwys cyfarwyddyd i eglwys Dduw pa fodd i ymddwyn at y gwahanol gymeriadau a geisiant aelodaeth ynddi. Y mae y dyn i'w anfon i bregethu, nid oblegid ei fod ef ei hunan yn credu y dylai fyned; nid am fod ei berthynasau am wneyd pregethwr o hono; nid am fod y gwaith o bregethu yn ymddangos yr hawddaf a'r anrhydeddusaf iddo; nid am fod ei daid wedi bod yn pregethu am haner can' mlynedd, ac nid am fod neb yn meddwl fod ganddo ormod o athrylith i'w afradu ar ddim arall; ond y mae i fyned i bregethu fel y cymeriad dan sylw; pan yr arwydda fod cariad at Iesu Grist yn elfen ddigon cref yn ei enaid, fel y mae yn alluog, gyda y llawenydd uwchaf, i aberthu pawb a phobpeth er cyflwyno iddo wasanaeth didor a gwirfoddol. Pan y cyfarfydda eglwys Dduw a dyn felly, gall anturio dweyd wrtho, "Dos *di* a phregetha."

Ac y mae hanes y moddau gwahanol yr ymddygodd Crist at y tri wyr a fynasent fod yn ddysgyblion iddo, yn dysgu hefyd mai dyledswydd yr eglwys ydyw dal rhai ymgeiswyr yn ol. Felly y gwnaeth Crist a'r ysgrifenydd. Mai ei dyledswydd ydyw cymell eraill yn mlaen. Felly y gwnaeth Crist a'r un y buasai ei dad farw. Ac yn olaf, mai dyledswydd eglwys Dduw at rai ydyw, nid eu cadw yn ol, na'u cymell yn mlaen, eithr ymdrechu eu cadw yn sefydlog yn yr un fan. Felly gwnaeth Crist a'r hwn a fynasai ei adael i fyned

adref i ganu yn iach i'w deulu. Cymellai arno wastadrwydd amcan yr aradwr, a thrwy hyny cymellai ef i dynu ei gwys o broffes yn unionsyth, ar draws maes amser, hyd at dalar marwolaeth.

---

## Y LLAI NA'R LLEIAF YN NHEYRNAS NEFOEDD.

"Yn wir meddaf i chwi, Yn mhlith plant gwragedd, ni chododd neb mwy nag Ioan Fedyddiwr: er hyny, yr hwn sydd leiaf yn nheyrnas nefoedd, sydd fwy nag ef."—Mat. xi. 11.

*Y mae a fyno pwysleisiad a iawn ddealliad yr adnod hon.* Os y darllenir hi gan bwysleisio yn arbenig ar y geiriau a italeiddir, gwneir iddi gefnogi ysgariad Ioan Fedyddiwr oddiwrth deyrnas Iesu Grist. "Yn wir meddaf i chwi, ......, er hyny yr hwn sydd leiaf YN *nheyrnas nefoedd*, sydd fwy nag ef." Yn ol y pwysleisiad yna, y mae Ioan yn yswileiddio mewn bychander am ei fod y *tu allan* i'r deyrnas, tra y mae rhywun arall, yn gyferbyniol iddo, er ei holl ddinodedd, y "lleiaf" am ei fod *yn* y deyrnas, yn ymchwyddo i fawredd sydd yn cysgodi y Bedyddiwr am byth. Y mae yn deilwng o sylw fod rhyw awydd anghyffredin wedi bod, ac yn bod, yn mysg dynion, i fychanu Ioan Fedyddiwr, ac y mae y tueddfryd hwnw wedi ei feithrin i'r fath raddau fel y gwneir ymdrech fawr i'w ddiarddel o deyrnas Dduw. Y mae llawer, gyda Herod,

am dori pen Ioan Fedyddiwr; ac er boddio merch i ryw Herodias na'i gilydd, yn ei ddodi ar y ddysgl. Y mae arswyd ar y rhai hyny rhag ofn iddo gyfodi o feirw. Er nad oes un gair o son am fedydd yn yr Hen Destament, yr Apocrypha, Josephus, Philo, na'r Rabbiniaid; er fod Ioan wedi ei ddwyn i fyny yn hollol wahanol i'r offeiriaid gynt, nid yn Jerusalem, ond yn y diffaethwch; er fod ei ymborth a'i wisg, gweinyddiad ei swydd a'i fedydd, yn gwbl wahanol i ddim y gwyddai Iuddewiaeth am danynt, eto myn rhywrai ei fod yn gwasanaethu, nid dan yr efengyl, ond dan y gyfraith. Tra y dywed y Testament "yr holl brophwydi a'r gyfraith a brophwydasant *hyd* Ioan" (adn. 13eg); tra y cydnabyddir mai Ioan fedyddiodd Frenin y deyrnas, a bod ei weinidogaeth yn hawlio ffrwythau efengylaidd, a ffurf ei fedydd yn hollol yr un fath ag eiddo yr apostolion, eto, gwneir ymgais fawr i'w daflu allan o deyrnas Dduw. Ymgyfyd hyn o'r annyoddefgarwch a deimlwn tuag at y rhai sydd yn barnu ac yn gweithredu yn wahanol i ni! Gan mai credinwyr, ac nid babanod, oedd deiliaid bedydd Ioan; gan mai *mewn* dwfr, ac yr ydoedd efe yn bedyddio, a chan na weinyddai yr ordinhad i neb ond y rhai a broffesent edifeirwch, nid ydyw yn gymaint syndod fod dynion am gael gwared o'i gymdeithas. Y mae yn syndod, modd bynag, fod dynion crefyddol nid yn unig yn ei ddiarddel, ond hefyd yn ei ddianrhydeddu. Llefarodd y Gwaredwr eiriau mwy dyrchafol am dano ef nag am un dyn arall a fu ar y ddaear erioed. Ond yn awyddus i'w ddianrhydeddu, edliwir iddo yn ei gefn, gan ddynion yn awr, ei fod mor fychan fel ag y mae y

lleiaf o holl ddeiliaid teyrnas Iesu Grist, yn fwy nag ef.

*Y mae a fyno beirniadaeth eiriol a iawn-ddeongliad yr adnod.* Y mae yn hawdd gweled fod yma gyferbyniadau yn y geiriau. Y mae yma ddwy gyferbyniaeth, un yn y rhan flaenaf, a'r llall yn y rhan olaf, o'r adnod. Y rhai a gyferbynir yn y rhan gyntaf ydynt "Ioan Fedyddiwr" a "phlant gwragedd;" a'r rhai a gyferbynir yn y rhan olaf ydynt "Ioan Fedyddiwr" a'r "hwn sydd leiaf yn nheyrnas nefoedd." Yn y gyferbyniaeth gyntaf, dysgir mawredd y Bedyddiwr drwy ddweyd nad oedd neb mwy nag ef wedi bod yn y byd erioed. Yn yr ail gyferbyniaeth, dysgir mawredd rhyw *un* arall drwy ddweyd fod hwnw yn fwy na Ioan. Cydnabydda pawb ag y mae unrhyw bwys yn eu barn, fod cyfieithiad yr ail gyferbyniaeth yn wallus. Y mae cyflead yr ansoddair "leiaf" yn anghywir. Tri gradd cymharol sydd yn perthyn i ansoddeiriau, yr uchelradd, y canolradd, a'r iselradd. Y gradd cyferbyniol i *mawr* ydyw *bychan*, y gradd cyferbyniol i *mwy* ydyw *llai*, a'r gradd cyferbyniol i *mwyaf* ydyw *lleiaf*. Fel hyn :

Mawr — bychan.
Mwy — llai.
Mwyaf — lleiaf.

Gwelir yn eglur felly fod defnyddio *mwy* a *lleiaf* mewn cyferbyniaeth yn drosedd ar iaith, ac felly fod yr ymadrodd "yr hwn sydd *leiaf* yn nheyrnas nefoedd," pan yn gyferbyniol i'r ansoddair *mwy*, yn wallus mewn cystrawen. Nid ydyw *mwy* a *lleiaf* yn cytuno a'u gilydd. Ond nid Matthew, eithr ei gyfieith-

wyr, sydd yn gyfrifol am yr amryfusedd hwn. Yr hyn a ddywedodd Iesu Grist ydoedd—ac felly y cyflewyd ei eiriau gan yr efengylwr—"er hyny yr hwn sydd *lai* yn nheyrnas nefoedd sydd fwy nag ef." Heb nodi enwau y lluaws mawr ysgolheigion a ddadleuant dros y darlleniad hwn, megys y Parch. F. C. Cook, a Dr. Basil Jones, Esgob Tyddewi, yn y "Speaker's Commentary;" Parch. John Williams, Rhos, mewn erthygl yn yr "Athraw;" y Parch. John Evans, Abercanaid, yn ei "Athrawiaeth Bedydd," &c., digon fydd crybwyll ddarfod i'r saith-ar-hugain o brif ysgolheigion Lloegr, a fuont am ddeng mlynedd a haner yn ymroddi i ddiwygio cyfieithiad y Testament, hysbysu y byd mai y canolradd *llai* ydyw y gair a ddefnyddir yma yn yr iaith wreiddiol. Byddai yn ofynol meddianu cryn hunan-hyder ac ystyfnigrwydd i wrthod tystiolaeth awdurdodau mor aruchel.

*Y mae a fyno syniadau cywir am ddysgeidiaeth Crist fwy drachefn a iawn ddeongliad yr adnod.* Dug hyn ni wyneb yn wyneb a phrif anhawsderau y geiriau. Pa beth a ddysgant? Pwy ydyw y *llai* oedd yn *fwy* na Ioan? Pa fodd y gallasai fod yn *fwy*, ac eto yn *llai*? Yn mha ystyr yr ydoedd yn *llai*, ac yn mha ystyr yr ydoedd yn *fwy*? Wrth geisio ateb yr

YMHOLIADAU

hyn y ganwyd y cyfeiliornadau ag y mae mor anhawdd eu diwreiddio. Yn yr ymchwiliad am y *llai*, tybia dynion eu bod wedi cael gafael arno mewn personau nad ydynt yn cyfateb o gwbl iddo yn y darluniadau eraill a geir o hono. Dywed un dosbarth

*Mai y lleiaf yn mysg yr apostolion a olygir.* Haerir fod unrhyw un o'r deuddeg apostol yn *fwy* na Ioan Fedyddiwr, yn fwy nag ef, nid yn unig oblegid fod yn ei feddiant ef allu gwyrthiol, ond yn benaf am mai Crist i ddyfod a bregethai Ioan, tra yr oedd yr apostolion yn pregethu Crist wedi dyfod, wedi marw, ac wedi esgyn i ogoniant. Y peth sydd yn syndod ydyw fod neb erioed wedi dychymygu fod yma unrhyw gyfeiriad at yr apostolion, gan nad oes yma y gair lleiaf o son am danynt yn y cysylltiadau, nac un gymhariaeth yn cael ei sefydlu rhyngddynt a Ioan mewn unrhyw fan arall. A sylwer ar amseriad y berfau yn y frawddeg. Y mae hyny ar unwaith ac am byth yn dinystrio y dyb fod yma unrhyw gyfeiriad at yr apostolion. Cyn galwad na neillduad un o honynt, dywed Crist "er hyny, yr hwn *sydd* lai (nid a *fydd* lai) yn nheyrnas nefoedd, *sydd* (nid a *fydd*) fwy nag ef." Pwy bynag ydyw y person a gyferbynir, yr ydoedd hwnw, y mae yn eglur, mewn bod ar y pryd, ac y mae rhywbeth yn seiniadaeth y geiriau yn profi nad ydoedd yn neppell pan y llefarwyd hwy. Dywed dosbarth arall

*Mai y deiliad distadlaf yn nheyrnas Crist, o dan yr efengyl, a olygir.* Cydnabydda y dosbarth hwn y gall un fod yn israddol mewn doniau a gallu, eto, gan ei fod yn y deyrnas, fod hyny yn rhoddi iddo safle uwch. Ac y mae yr un dosbarth yn dadleu, fod babanod, drwy daenelliad, yn dyfod "yn aelodau o Grist, ac yn etifeddion teyrnas nefoedd;" o ganlyniad, fod y mebyn lleiaf, eiddilaf, a mwyaf dienaid, mewn canlyniad i dafliad ychydig ddyferynau o ddwfr arno, drwy rhyw drawsffurfiad dyeithr, yn dyfod yn fwy ac yn ar-

dderchocach na Ioan Fedyddiwr, am yr hwn y tystiolaethai Crist, nad oedd neb mwy nag ef, er dyddiau Adda, wedi ymddangos ar y ddaear!! Y mae ymlyniad wrth gyfeiliornad yn arwain i gaddug ac ynfydrwydd. Yn ein barn ni, rhyw fath o gyfaddawd ydyw meddylddrych Dr. W. R. Williams, Efrog Newydd, pan yn sylwi ar y geiriau hyn yn ei "Ddarlithiau ar Hanes y Bedyddwyr." Creda ef fod yr Athraw yn dysgu fod Ioan yn y deyrnas, ond yn y deyrnas fel gwasanaethwr a chyfarwyddwr rhai eraill, ac yn y golygiad hwnw fod derbynydd ei wasanaeth, mewn dullwedd cyffredin o siarad, yn fwy nag ef. Eglura ei dybiaeth drwy gyffelybiaeth, a dywed mewn effaith, megys ag y mae yr hwn a ddeil y lluman ar ochr y rheilffordd yn ddyn o bwysigrwydd mawr, a rhagor, yn dal perthynas agos a chwmni y rheilffordd, eto, fod y teithiwr distadlaf sydd yn y cerbydau, yn fwy nag ef, o gymaint ag mai gwasanaethu hwnw ydyw ei swydd; felly, fod Ioan y Bedyddiwr yn dra phwysig yn nheyrnas Dduw, ac yn dal perthynas agos a Iesu Grist, er hyny, gan mai ei waith ydoedd cyfarwyddo dynion at Oen Duw, fod y rhai a gyfarwyddai, fe derbynwyr ei wasanaeth, yn fwy nag ef. Y mae y meddylddrych hwn yn gyfaddawd cywrain a tharawiadol, ond y mae gwirionedd erioed wedi gwrthod unrhyw gyfaddawd a chyfeiliornad. Yr ydym yn blino ar fyntumiau ag ydynt ynddynt eu hunain, ac yn eu canlyniadau ymresymegol, yn gam-gyfeiriol ac annaturiol.

Pwy bynag ydyw yr un *llai*, y mae yn rhaid ei fod yn rhywun annarluniadwy fawr cyn y gallasai fod yn *fwy* na Ioan Fedyddiwr. Yn sicr, nis gallasai un

bychan fod yn fwy na Ioan. Os ydoedd Ioan yn fwy na Moses, yn fwy nag Esaias, yn fwy na Jeremias, ie, yn fwy na'r holl brophwydi,—a'r prophwydi oedd y dynion mwyaf fu yn y byd erioed—y mae yn rhaid, o angenrheidrwydd, fod yr un *llai* y sonir am dano, oedd yn *fwy* nag ef, yn annrhaethol fwy na'r apostolion, ac yn tra rhagori ar gymeriadau dysgleiriaf yr oesau. Cyn gweled pwy a all fod yn *fwy* na'r Bedyddiwr, dylid ceisio amgyffred pa mor fawr ydoedd ef ei hunan. Y mae ieithwedd y testyn yn caniatau i ni geisio tafoli ei berson, ei gymeriad, a'i waith. Heb wneyd hyny, nis gellir gweled yn glir pwy ydyw yr un *llai* sydd yn *fwy* nag ef. Beth am Ioan? Yn sicr, y mae pobpeth a ddywedir am dano yn profi ei fod y dyn mwyaf annaearol, gyda yr eithriad o Iesu Grist, a fu ar y ddaear erioed.

*Bu y byd yn dysgwyl am dano am saith cant o flynyddoedd.* Yr oedd croniclau yr Hen Destament yn cynwys darluniad o'i berson a'i waith, saith can' mlynedd cyn ei eni. Cyn fod Nebuchodonosor wedi breuddwydio, cyn fod Cyrus wedi troi yn ei gawell, cyn fod Nehemiah wedi dechreu adeiladu, cyn fod Alexander wedi meddwl am arwain ei fyddinoedd, a chyn fod y Macabeaid wedi dechreu cweryla, yr oedd cyhoeddiad Diwygiwr mawr yr anialwch wedi ei anfon i'r byd.

*Llys-genadydd urddasolaf yr orsedd anfonwyd i hysbysu ei enedigaeth.* Dywedwyd wrth Zecharias ac Elizabeth am barotoi ei gryd, nid gan un o genadau cyffredin y Llys, ond gan Gabriel, y Gabriel urddasol

anfonwyd at Mair i ragddweyd am enedigaeth Ceidwad y byd.

*Y mae yr ymadroddion a ddefnyddir i'w ddarlunio yn rhai nodedig o anghyffredin.* Ystyrier hwy. "Wele yr wyf yn anfon fy nghenad o flaen dy wyneb."—Esaiah. "Wele mi a anfonaf i chwi Elias y prophwyd, cyn dyfod dydd mawr ac ofnadwy yr Arglwydd. Ac efe a dry galon y tadau at y plant, a chalon y plant at eu tadau, rhag i mi ddyfod a tharo y ddaear a melldith."—Malachi. "Mawr fydd efe yn ngolwg yr Arglwydd."—Gabriel. "Ie, meddaf i chwi, a mwy na phrophwyd."—Crist, &c., &c.

*Yr oedd ei lafur a'i lwyddiant yn anarferol fawr.* Safai rhwng Sinai danllyd yn y de, a Seion dawel yn y gogledd, yn y diffaethwch mawr, gan gyfarch y pererinion oedd yn pasio, y masnachwyr a elent heibio, yn nghyd a'r tyrfaoedd a ddeuent ato, o'r pentrefi a'r dinasoedd, a chreodd gyfnod newydd yn hanes Israel. Torodd ar ddystawrwydd y nefoedd a'i lef yn yr anialwch. Yr hyn yr oedd Esaiah wedi fethu ei wneyd a'i ysgrifbin, Jeremiah a'i ddagrau, Ezeciel a'i ddarluniau, Haggai a'i farnau, gwnaeth Ioan ef a'i *lef*. Gydag anmhleidgarwch a gonestrwydd diefelydd, ni chyfnewidiodd ei gyweirnod wrth gyfarch publicanod a milwyr, Phariseaid a Saduceaid, Herod a'i ddeiliaid. Y mae yn iechyd i galon ei weled yn sefyll yn ei ddillad croen, a'i flew camel, yn meddu esgyrniaeth a chnawd braf, yn nghanol coedwig dynoliaeth, gan gyfodi hen fwyell gwirionedd, a'i gosod ar wreiddyn y prenau! Ac yr oedd ei lwyddiant yn fawr. Yr ydoedd mor llwydianus fel yr aeth yn destyn dadl yn mhlith y bobl ai nid

efe oedd y Messiah. Bedyddiai yn fynych yn Ainon, ac yr oedd yr holl wlad o amgylch yr Iorddonen yn dyfod ato, i'w bedyddio ganddo.

Pwy ynte a geir yn *fwy* na Ioan Fedyddiwr? Nis gall neb ond Un fod yn *fwy* na Ioan, yr hwn oedd yn fwy na phawb, a hwnw ydyw Iesu Grist, y Duw bendigedig, yn oes oesoedd. "Y mae un (meddai y Bedyddiwr), yn sefyll yn eich plith chwi, yr hwn nid adwaenoch chwi, efe yr hwn sydd yn dyfod ar fy ol i (dyna y *llai* yn y deyrnas), yr hwn a aeth o'm blaen i (dyna y *mwy* yn y deyrnas) yr hwn nid wyf fi deilwng i ddatod carai ei esgidiau." "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." "Ac mi a welais, ac a dystiolaethais mai hwn yw Mab Duw." Hwn ydyw yr un llai, mwy—yn llai fel un ddaeth i'r byd chwe' mis ar ei ol, ond yn anfeidrol fwy fel awdwr trefn iachawdwriaeth. Gan fod Ioan yn fwy na phawb fu o'i flaen, a chan fod Crist yn fwy na Ioan, Iesu Grist felly yw y mwyaf o bawb. Y mae yn dda genym am y gwas, ond yn well genym am y meistr. Yr ydym yn caru y lleuad, ond y mae yn well genym yr haul. Yr ydym am roddi parch i'r cenad, ond parch mwy i'r Brenin anfarwol. Yr oedd yr hwn a ddaeth o lwynau Elizabeth yn fawr, ond yr hwn a ddaeth o lwynau yr Ysbryd Glan yn fwy.

# Y LLAI NA'R LLEIAF YN NHEYRNAS NEFOEDD.

"Yn wir meddaf i chwi, Yn mhlith plant gwragedd, ni chododd neb mwy nag Ioan Fedyddiwr: er hyny, yr hwn sydd leiaf yn nheyrnas nefoedd, sydd fwy nag ef."—Mat. xi. 11.

GAN Y PARCH. T. C. EDWARDS (CYNONFARDD).

Ymddengys i mi fod tri pheth yn angenrheidiol idd eu deall cyn gallu esbonio yr adnod hon yn eglur; sef, 1. Pa beth olygid wrth "plant gwragedd?" 2. Pa beth olygid wrth "yn nheyrnas nefoedd?" 3. Pa fodd y deallid y maintioli cydmarol yn y deyrnas, sef, "Y lleiaf yn fwy nag ef?"

1. "Plant gwragedd" yn ddiau a olyga y ddynoliaeth naturiol. Cyfeiriai yr athraw weithiau at "blant Duw," a "phlant y deyrnas," a "phlant Abraham." Yn y cyfeiriadau hyny, amcanai alw sylw at nodweddau neillduol a ddysgwylid fod yn nghymeriadau a theithi meddyliol y rhai a anerchai. Dylai "plant Duw" fod yn Dduwiol, "plant y deyrnas" fod yn deyrngarol, a "phlant Abraham" feddu "ffydd eu tad," &c. Ond y mae holl gyfeiriadau y Beibl at "aned o wraig," a "phlant gwragedd" yn cynwys yn syml, gyfeiriad at enedigaeth naturiol, heb ddal unrhyw berthynas a chymeriad, na theithi, na swyddogaeth na gwasanaeth. Felly, yn y fan hon, geilw Iesu Grist sylw at fawredd Ioan Fedyddiwr wrth ei gydmaru mewn ystyr naturiol, a phawb aethant trwy y byd o'i flaen ef.

2. "Yn nheyrnas nefoedd." Matthew yn unig sydd

yn defnyddio yr ymadrodd "teyrnas nefoedd." Yn Mat. viii. 12, a ix. 35, defnyddir y gair "teyrnas" yn unig. Defnyddiai yr hen ysgrifenwyr Rabbinaidd yr ymadroddion "teyrnas nefoedd," a "teyrnas Dduw" yn aml, wrth y rhai y meddylient "Dwyflywiaeth ar y ddaear." Ymddengys gwahanol ystyron i'r geiriau weithiau, ond nid oes gwahaniaeth rhyngddynt, er eu bod yn cael eu datgan mewn gwahanol amgylchiadau a chysylltiadau—maent bob amser yn cynwys "llwyr ymostyngiad ac ufudd-dod i ewyllys Duw, fel y Brenin Goruchaf," pa un ai fel person unigol, neu fel cyfan-gorph o bobl—yn gymdeithasol a gwladol—yr edrych-er arnynt. Defnyddir hwynt gan esbonwyr a duwin-yddion i olygu yr oruchwyliaeth efengylaidd, a chredir mai hyny olygai Ioan pan ddywedai "nesaodd teyrnas nefoedd," (Mat. iii. 2.) Bod yn ddeiliad o oruchwyl-iaeth yr efengyl olygai Iesu Grist yn yr adnod hon wrth fod "yn nheyrnas nefoedd."

Nid oedd Ioan Fedyddiwr yn ddeiliad goruchwyl-iaeth yr efengyl yn yr adeg y llefarodd Iesu Grist y geiriau hyn; ond *efe ddaeth nesaf* at y deyrnas o holl "blant gwragedd." Nesau oedd y deyrnas, meddai Ioan, a nesau oedd y deyrnas, meddai Iesu hefyd (Mat. iv. 17), yn yr adeg hono.

3. "*Y lleiaf yn fwy nag ef.*" Credai Chrysostom fod Iesu Grist yn cyfeirio ato ei hun yn "y lleiaf," a dylynwyd ef gan lu o esbonwyr eraill; ond nid oes nemawr bellach yn credu felly, oblegid nid yw y Tes-tament Newydd byth yn cyfeirio at Iesu Grist "*yn* y deyrnas," ond yn Frenin ac yn Arglwydd y deyrnas. Barnai Meyer mai gwendid i ddeall ystyr pethau ydyw

tybio fod Iesu Grist am gydmaru ei hun a Ioan. Wrth y "lleiaf" gallai yr Arglwydd Iesu olygu yr analluocaf ei feddwl a'i gyrhaeddiadau, yr anghymwysaf yn yr eglwys Gristionogol i fod yn swyddog ac yn wasanaethgar ynddi. Eto, o herwydd ei fod yn ddeiliad teyrnas ysbrydol, ac wedi ei eni oddiuchod, ei fod yn fwy na'r mwyaf anrhydeddus a galluog o blant yr enedigaeth naturiol. Amcan ymresymiad Iesu Grist yn y benod hon ydoedd arwain meddwl ei wrandawyr i fyny o ris i ris i gyflawn werthfawrogiad o fawredd ei deyrnas, ac o urddas ei deiliaid hi. Yr oedd Ioan yn fawr wrth ei gydmaru a'r rhai o'r tu allan; ond y mae y lleiaf tu fewn yn fwy na'r mwyaf tu allan. Nid mwy mewn gallu, na chymeriad personol, nac ychwaith mewn sicrwydd bywyd tragywyddol; ond yn fwy mewn rhagorfreintiau presenol, mewn safle, mewn manteision, mewn posiblderau, mewn ysbrydolrwydd cyflwr, yn fwy, fel y mae y plentyn lleiaf yn fwy na'r gwas mwyaf. "The least of the greatest is greater than the greatest of the least."—Wordsworth, ac Alford.

GWERSI.

1. Nad oedd Iesu Grist yn bwriadu gosod Ioan, na'i fedydd, &c., yn gynllun ac esiampl i Gristionogion, mwy nag y bwriadai osod Petr yn sylfaen yr eglwys. "Cenad yn parotoi y ffordd oedd efe."

2. Fod cyfrifoldeb mawr iawn ar holl ddeiliaid teyrnas yr efengyl, o herwydd eu breintiau helaeth, a'r anrhydedd mawr a osodir arnynt—"Mi a'ch gelwais chwi yn gyfeillion." "Pob peth ar a glywais gan fy Nhad,

a hysbysais i chwi." "Y lleiaf yn nheyrnas nefoedd sydd fwy nag ef."

---

## TREISIO TEYRNAS NEFOEDD.

"Ac o ddyddiau Ioan Fedyddiwr hyd yn awr, yr ydys yn treisio teyrnas nefoedd, a threiswyr sydd yn ei chipio hi."—Mat. xi. 12.

Yr ydym yn teimlo fod rhyw erwinder dyeithr yn swn y geiriau "*treisio* teyrnas nefoedd," a "threiswyr sydd yn ei *chipio* hi." Y mae y syniadau a goleddwn am bob math o drais, yn enwedig y trais a arferir tuag at y tyner, y gwerthfawr, a'r dwyfol, yn creu ynom syndod fod yr Athraw wedi defnyddio y geiriau *treisio* a *chipio*, er gosod allan y modd y mae dynion yn dyfod yn feddianol o fendithion yr efengyl. Ac heblaw hyny, y mae teyrnas nefoedd yn anfaterol, yn anweledig, ac yn ysbrydol; ond y mae y dull a gymeradwyir yma i'w meddianu, yn tybio ei bod yn gyrhaeddadwy, yn gyffyrddadwy, ac yn orchfygadwy. Rhagor, drachefn, y mae y geiriau *treisio*, a *chipio*, yn cario ar eu gwyneb y syniad annillyn fod dyn yn alluog i atafaelu y dwyfol, ac mai drwy orthrech o'r fath fwyaf beiddgar, yn unig, y gall ddwyn oddiar Dduw yr hyn sydd yn hanfodol i'w ddedwyddwch. Y mae y ffaith fod darlleniad o'r adnod yn creu argraffiadau o'r nodwedd hon, yn peri ein bod yn ei rhestru yn mysg adnodau dyrys y Testament, ac yn brawf o'r dymunoldeb, os yn ddichonadwy, yn ffafr y gwirionedd, o'i diosg o bob gwrthuni a gerwinder.

YMHOLIADAU.

Pa beth a olygir wrth deyrnas nefoedd? Paham y darnodir dyddiau Ioan Fedyddiwr fel y cyfnod yn mha un y dechreuodd dynion dreisio teyrnas nefoedd? Pa beth ydyw natur y trais y mae yn rhaid ei arfer mewn trefn i *gipio* y deyrnas?

Y mae yr ymadrodd "teyrnas nefoedd," mewn gwahanol fanau, yn golygu arweddion gwahanol ar y drefn achubol. Nid yr un syniad a gyflea yn mhob lle y dygwydda. Golyga bresenoldeb person Crist ar y ddaear (Mat. iii. 2). Golyga ddylanwad ysbrydol crefydd ar y galon (Rhuf. xiv. 17). Golyga lywodraeth freiniol Crist ar enaid, yn wrthgyferbyniol i lywodraeth breninoedd y byd ar gyrph (Ioan xviii. 36); a golyga hefyd ddedwyddwch tragywyddol y saint yn y byd a ddaw (Mat. viii. 2; Marc x. 14). Gwelir felly fod yr ymadrodd yn un hydwythog, ac yn meddu ar wahanol ystyron. Ond y cwestiwn ydyw, pa agweddiad ar ymwneyd Duw a dyn, dan yr efengyl, a gynrychiolir ganddo yn y cysylltiad hwn? Y mae y gair *teyrnas* yn golygu cyfundrefn lywodraethol, yn cynwys ynddi frenin, deiliaid, deddfau, cosbau, gwobrau, terfynau daearyddol, &c. Cyfundrefn lywodraethol ydyw yr efengyl, ac y mae yn perthyn iddi Frenin, deiliaid, deddfau, &c., mor wirioneddol ag unrhyw deyrnas arall, gyda hyn o wahaniaeth, fod holl hanfodion hon yn ysbrydol, ac oblegid hyny gelwir hi yn deyrnas *nefoedd*. Y mae ei deddfau, nid yn wladol, ond yn ddwyfol. Ymwna ag eneidiau, ac nid a chyrff. Cynygia yn wobrwyon am deyrngarwch a gwasanaeth, nid cyfoeth,

urddas, nac urdd-enwau, ond graddau helaethach o sancteiddrwydd, tangnefedd, a chyfiawnder. Y mae yn ddichonadwy cysylltu a hi hefyd y syniad o leoldeb; y mae miliwnau tu fewn i'w chyffiniau ysbrydol, a miliwnau y tu allan iddynt.

Yn nyddiau Ioan Fedyddiwr y dechreuodd yr Arglwydd fabwysiadu y modd trwyadl ysbrydol o lywodraethu egwyddorion a nwydau dynion. Yn flaenorol i hyny, o dan y "gyfraith a'r prophwydi," dygid y llywodraeth yn mlaen drwy gyfryngau gweledig a chnawdol. Ffurfiau a deddfau, gwyrthiau a phrophwydoliaethau, barnau a salmau, oeddynt y cymellion i wrthsefyll y drwg, ac i lynu wrth y da; ond er dyddiau Ioan, y mae y cyfryngau hyny wedi diflanu, ac yn lle genedigaeth naturiol, cydymffurfiad allanol a defodau cnawdol, yn nghyd a derbyniad goddefol o gredoau a ffurfiau, y mae yn rhaid profi edifeirwch tuag at Dduw ffydd yn Oen Duw, ac ail-enedigaeth o ddwfr ac o'r Ysbryd. Yn nyddiau Ioan, trosglwyddodd yr Hen Ddihenydd i Fab y dyn, "lywodraeth a gogoniant, a breniniaeth, fel y byddai i'r holl bobloedd, cenedloedd, a ieithoedd, ei wasanaethu ef: ei lywodraeth sydd lywodraeth dragywyddol, yr hon nid ä ymaith, a'i breniniaeth ni ddyfethir."—(Daniel vii. 13, 14.) Ar adeg bedyddiad Brenin teyrnas nefoedd yn yr Iorddonen, gan Ioan, y mae Duw Dad yn byth-nodi y cyfnewidiad oedd yn cymeryd lle yn ei ymwneyd â dynion, drwy gyhoeddi mai ar yr Eneiniog yr oedd pawb o hyny allan i wrando.

Rhagdybia y testyn fod rhyw dyrfaoedd yn amser Ioan, ac yn amser Iesu Grist, yn sefyll yn edmygol ar

derfynau y deyrnas newydd. Ac y mae hanes y cyfnod yn gwireddu y dybiaeth. Fu erioed o'r blaen y fath gyffro yn hanes eneidiau. Heidiau y miloedd, gan adael eu cartrefleoedd a'u gorchwylion, at y Bedyddiwr i'r anialwch. Nid oedd un gallu ar y ddaear yn ddigonol i'w rhwystro i ymdyru ato, ac yr oedd y tyrfaoedd yn derbyn ei athrawiaeth gyda'r fath frwdfrydedd angerddol ag ydoedd o'r blaen yn anadnabyddus yn hanes crefydd. Ymddengys ei wrandawyr megys mewn ymrysronfa, a'r fath fwyaf beiddgar am fyned i fewn i ddiogelwch y gyfundrefn newydd a bregethai. Ac ni fu erioed Rabbi mor boblogaidd yn Israel a Rabbi Nazareth. Cymaint ydoedd awydd y bobl am fyned yn agos ato, fel y sathrent draed eu gilydd. Yr oedd y fath swyn yn ei ddull o egluro egwyddorion y deyrnas, a chymwysderau ei deiliaid, yr hyn ydoedd baich ei bregethau, ei ddamegion, &c., fel y tystiai y rhai henaf yn Israel mai efe oedd y llefarwr goreu a glywsant erioed. Drwy, ac yn y miloedd a safent i edrych yn fawrygol ar y deyrnas yn nyddiau Ioan, ac yn ei ddyddiau yntau, rhagwelai y Gwaredwr y miliwnau aneirif, mewn gwahanol oesau, wedi eu calon-dynu gan brydferthwch, ffrwythlondeb, a diogelwch y deyrnas newydd, oddiar frwdfrydedd llosgedig, yn gorawyddu, nid yn unig am sefyll yn ymyl y deyrnas, ond myned i mewn iddi, ac aros ynddi. Mewn rhagwelediad dwyfol, gwelai yn ei gydoeswyr ddarlun o dreiswyr oesau dylynol. Ac y mae yma ragdybiaeth arall yn y geiriau, y bydd yn fanteisiol ei chrybwyll fel esgynfa at y gwirionedd a ddysgir, sef nas gellir myned i mewn i'r deyrnas, gan nad faint fyddo angerddoldeb yr aw-

ydd am hyny, ond ar waethaf y gwrthwynebiadau ffyrnicaf. Yr ymsyniad ydyw, fod yma ryw alluoedd mawrion, rhyw atalfeydd cedyrn, rhyw elynion corph-oledig, yn sefyll yn barhaus ar derfynau, neu wrth ddrysau y deyrnas, yn milwrio yn erbyn yr eneidiau sydd wedi eu dal gan chwenychiad i'w meddianu. Y mae y rheidrwydd am y trais ar unwaith, ac ynddo ei hun, yn golygu anhawsderau.

Yn ngoleuni y rhagdybiau uchod, y mae y gwirionedd sydd yn y geiriau yn fwy gweladwy. Yr hyn a ddysgir ynddynt ydyw: *Nad oes un dosbarth o bobl a el i fewn i deyrnas nefoedd, sef yr hwn a fedd ar ddigon o argyhoeddiad, gwroldeb a nerth, i fynu ei chael hi, ar waethaf pob anhawsder.*

Nid rhyw bobl oddefgar, ddiegni, glaiar, a chysglyd, sydd yn myned i mewn i deyrnas Dduw, ond pobl ddifrifol, egniol, orchestol, a gorchfygol. Pobl ydynt na saif dim o'u blaen. Yr ydym yn credu mai hwnyna ydyw ystyr y gwirionedd sydd yn gorwedd yn y geiriau; ond tra yn credu hyny, yr ydym yn gwybod fod cryn dywyllwch yn gorwedd ar yr ymadrodd allegol sydd yn ei gyfleu. Y mae yn eglur fod yn yr ymadrodd gyffelybiaeth. Y mae hyny yn ddealladwy. Y mae pobl yn ysbrydol i ddyfod yn feddianwyr o deyrnas nefoedd mewn modd cyffelyb i'r hyn y daw pobl, mewn ystyr naturiol, yn feddianwyr o wrthddrychau bydol, sef drwy orchfygu pob anhawsder a saif rhyngddynt a llwyr feddianiad. Ond y cwestiwn ydyw, a oedd meddwl yr Athraw yn gorphwys ar y pryd ar ryw ffurf arbenig o orthrech naturiol? Byddai amgyffred y plyg

naturiol a berthyn i'r alleg, yn gynorthwy pwysig i ddihysbyddu ei dysgeidiaeth ysbrydol.

Mewn ymchwiliad cyffelyb i hwn, mynych y derbynir goleuni oddiwrth gyfieithwyr y Gair, ac yn yr achos hwn, naturiol ydyw i ni droi atynt. Fel canlyniad, canfyddwn fod eu cyfleadau o'r gwreiddiol yn wahanol iawn, mor wahanol y naill i'r llall, nes creu anymddiriedaeth yn nghywirdeb pob un o honynt. Cyfleir hi yn y Cyfieithiad Diwygiedig fel hyn: "And from the days of John the Baptist, until now, the kingdom of heaven suffereth violence, and men of violence take it by force." Y mae yr holl wahaniaeth rhwng y cyfieithiad hwn ag eiddo y testyn awdurdodedig yn gyfyngedig i adran olaf yr adnod, ac nid ydyw y gwahaniaeth yn taflu goleuni ar natur yr alleg a ddefnyddir. Cyfleir hi yn y "Speaker's Commentary" fel hyn: "is eagerly seized by persons pressing into it," ac ychwanegir drachefn ar ymyl y ddalen, "is gotten by force, and they that thrust men." Cyfleir hi gan y Parch. S. Cox, Nottingham, mewn ysgrif feirniadol yn yr "Expositor," (Vol. III.) mewn dwy ffordd wahanol, gan adael i'r darllenydd ddewis y naill neu y llall: "O ddyddiau Ioan Fedyddiwr hyd yn awr, y mae teyrnas nefoedd wedi ei grymusoli, ac y mae y rhai grymus yn ei chipio drwy rym." Neu, "O ddyddiau Ioan Fedyddiwr hyd yn awr, y mae teyrnas nefoedd wedi rhoddi allan nerth, a dynion o nerth sydd yn gafaelyd yn gadarn ynddi." Cydnabydda y gwr dysgedig hwn fod anhawsder mawr, os nad yn wir, anmhosiblrwydd i roddi cyflead cywir o Roeg y testyn, ond gyda yr un hyfder ysgolheigaidd ag a ddengys yn ei

holl feirniadaethau eraill, beiddia sylfaenu sylwadau cryfion ar nodwedd gyferbyniol teyrnas Dduw o dan yr Hen Destament, a theyrnas Dduw o dan y Testament Newydd, ar y cyfieithiadau uchod. Gwel ynddynt ategiad i'r athrawiaeth, mai o dan y Testament Newydd, yn dechreu gyda Ioan, y dechreuodd yr Anfeidrol roddi allan ei nerth ymosodol ac ysbrydol yn achubiaeth dynion; ac hefyd fod pob peth oedd yn buraf, yn uwchaf, ac yn ddwyfolaf yn nghyfraith Moses, ac yn ngwasanaeth y deml, wedi cydgyfarfod yn Nghrist, ac ynddo Ef, a thrwyddo Ef, wedi eu nertholi, a'u hysbrydoli, fel y daeth teyrnas nefoedd y gallu gorthrechol mwyaf yn yr holl fyd. Ar sail yr un cyfieithiadau hefyd, hawlia fod y geiriau yn dysgu mai yn gydamserol â throsglwyddiad grymusder i'r deyrnas ei hunan, sef yn nyddiau Ioan, y daeth deiliaid y deyrnas i deimlo y grym a'r angerddoldeb sydd mor nodweddiadol o honynt. Nid ydym am ymddadleu a'r ysgolor hwn. Cyfleir hi yn yr "Oraclau Bywiol," gan John Williams, fel hyn: "Oddiar ymddangosiad cyntaf Ioan y Trochiedydd hyd yn awr, yr ydys yn goresgyn teyrnas y nefoedd; a goresgynwyr sydd yn cymeryd meddiant trwy drais." Yn ol y cyflead yna, y mae yn y testyn alleg, ac y mae yr hyn sydd naturiol ynddi yn dra adnabyddus. Dyga ger ein bron waith un wlad yn goresgyn, gorchfygu, a meddianu gwlad arall. Megys ag y darostyngodd Germani Ffrainc, y darostyngodd Lloegr yr Aipht, sef trwy ddryllio y diffynfuriau, tynu lawr yr amddiffynfeydd, a gwneydd carnedd o bob diogelfa, felly drwy ruthr ymosodol y mae eneidiau i feddianu teyrnas nefoedd. Ac nid oes dim

yn hanes y byd yn hawlio gwrhydri a dyoddefaint yn gyffelyb i oresgyniad gwlad estronol. Golyga ymorwedd am nosweithiau mewn cadbyllau, caledi dirfawr yn mlawdd y frwydr, rhuthro drwy rengau gelynol ar ryfelfeirch, ymosod ar yr amgaerau cadarnaf, tywallt gwaed yn afonydd, a bod yn nod i belenau tanllyd oddiar fagwyr y dinasoedd. Goresgynwyd Canaan gan Joshua a'i wyr, fel y daeth o dan ei awdurdod o'r anialwch i'r Euphrates, ac o wlad yr Hethiaid i'r Mor Mawr. Canaan y ddaear mewn ystyr ysbrydol ydyw teyrnas nefoedd, ac nid oes ond un ffordd i'w meddianu, ei goresgyn hi; ac o ddyddiau Ioan Fedyddiwr, goresgynwyr yn unig sydd wedi ei chael hi. Mewn gair arall, y mae bywyd tragywyddol i'w gael yn unig drwy wroniaeth ysbrydol. Y mae cael gafael ynddo yn hawlio ymdrech eithaf holl adgyfnerthoedd enaid. Y mae yn rhaid myned at Lyn Bethesda crefydd, yn penderfynu aros yno am iachad, neu farw. Rhaid gweithio y ffordd at Grist. drwy y dyrfa, fel y wraig a'r diferlif, gan ddiystyru pob anfantais. Os am y fendith, y mae yn rhaid fel y wraig o Ganaan, fyned i ddadl a'r Iesu ei hunan. Iaith y goresgynwr ydyw:

"I can but perish if I go,
I am resolved to try;
For if I stay away, I know
I must for ever die."

Fel Samson gynt, myn fuddugoliaeth rywfodd, hyd yn nod pe byddai raid iddo gyfodi colofnau cyntedd teml trugaredd oddiar eu seiliau tragywyddol. Cymaint ydyw ei ddifrifwch a nerth ei benderfyniad fel y dywed Spurgeon, yr holltai y barau aur sydd ar

ddesgrifir, sef, fod gan yr apostolion ar y naill law, hawl i benderfynu pob achos a chwestiwn yn dal perthynas a dyledswyddau yr eglwysi, ac ar y llaw arall, hawl i nodi allan nifer a nodwedd y pethau nad oeddynt rwymedig o gwbl ar ganlynwyr Crist. O dan ddylanwad a chyfarwyddyd yr Ysbryd Glan yr oedd eu holl ddyfarniadau yn gywir a therfynol. O fewn cylch neillduol, yr oedd pob gallu gwaharddol, a phob gallu caniataol, yn cael ei ymddiried iddynt gan Grist.

Y mae y Gwaredwr ar ddwy adeg arall, ond mewn geiriau gwahanol, yn gwaddoli ei ganlynwyr a'r awdurdod ryfedd hon. Un adeg dywed wrth Pedr, fel cynrychiolydd ei frodyr, "A rhoddaf i ti agoriadau teyrnas nefoedd." (Mat. xvi. 19.) Gan mai ymadrodd cyffelybiaethol ydyw hwn, nis gellir ei ddeall heb adgofio y defnydd gwreiddiol o hono. Adgofia ni am y geiriau a lefarodd yr Arglwydd am Eliacim (Esaiah xxii. 20), sef y buasai yn galw arno, yn ei wisgo yn ngwisgoedd Sebna, &c., ac ychwanegodd, "Rhoddaf hefyd agoriad ty Dafydd ar ei ysgwydd ef: yna yr egyr efe, ac ni bydd a gauo; ac efe a gau, ac ni bydd a agoro." Dyna ydoedd agoriad y pryd hwnw, a dyna ydyw agoriad yn awr, yr arwydd gweledig a'r awdurdod drwy ba un y gallasai gwarcheidwad y palas breninol ganiatau neu omedd mynediad i breswylfa y brenin. Rhywbeth yn debyg i geidwad allwedd y palas ydoedd swyddogaeth y deuddeg apostol yn eglwys Iesu Grist. Y mae y naill yn dwyn tebygolrwydd i'r llall, ac yn y tebygolrwydd hwnw y gorwedd yr urddas, yr awdurdod, a'r gallu a gyfranodd Crist i'r deuddeg wrth roddi iddynt agoriadau teyrnas nefoedd.

6

Ar ol yr adgyfodiad oddiwrth y meirw, yr ydym yn cael y Gwaredwr yn cyflawni yr addewidion a roddasai efe drwy yr ymadroddion uchod, ond y mae y ddawn aruchel yn cael ei chyfleu drwy eiriau gwahanol drachefn. Cynrychiolir yr awdurdod y tro hwn, nid gan y geiriau *rhwymo*, *rhyddhau*, neu *agoriadau*, ond gan y geiriau *maddeu* ac *atal*. "Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a anadlodd arnynt, ac a ddywedodd wrthynt, Derbyniwch yr Ysbryd Glan. Pwy bynag y maddeuoch eu pechodau, maddeuir iddynt; a'r eiddo pwy bynag a ataliocħ, hwy a ataliwyd." (Ioan xx. 22, 23.) Rhagdybia yr ymadroddion hyn droseddwyr naill ai yn erbyn rheolau y gymdeithas newydd, neu ynte yn erbyn awdurdod ei swyddogion; y troseddwyr hyny o flaen mainc ynadol yr eglwys yn sefyll eu prawf, a'r apostolion, dan gyfarwyddyd yr Ysbryd Glan, yn meddu y gallu i gyhoeddi pa rai o honynt oedd i gael eu derbyn yn ol, a pha rai oeddynt i'w cadw allan. Yr oedd ganddynt awdurdod i adfer rhai drwy faddeu iddynt, ac yr oedd ganddynt awdurdod i nacâu adferiad i eraill, pan yn ddiarwydd o edifeirwch. Nis gall y ddau air *maddeu* ac *atal* gymeryd i fewn y dosbarth hwnw o bechodau sydd yn ymdaro yn erbyn bodolaeth noeth Duw, neu ynte ei ewyllys ddatguddiedig, oblegid hawlfraint benarglwyddiaethol y Jehofah yw hono, ac felly y mae yn rhaid eu cyfyngu yn y cysylltiad hwn at droseddau yn erbyn anrhydedd, llwyddiant, neu ddysgyblaeth y gymdeithas newydd. Yn gytunol a'r gwahaniaethiad hwn, y mae Pedr yn cyngori Simon Magus, pan y gwelodd ef yn mustl chwerwder ac yn rhwymedigaeth anwiredd, i droi, nid ato ef nac at ei

gyd-swyddogion, ond at Dduw, i ofyn am faddeuant o feddylfryd ei galon. (Act. viii. 22.)

O angenrheidrwydd, bydd edrych drachefn ar y modd y gweinyddai yr apostolion yr awdurdod hon, yn gymorth pwysig i ddeall ei nodwedd. Honai yr apostolion awdurdod dros yr eglwysi (2 Cor. x. 8), ac yn yr Actau, yn ogystal ag yn yr Epistolau, ceir arddangosion o honi mewn gweithrediad. Yr oedd yn perthyn i swyddogaeth yr apostolion dair agwedd—y bregethiadol, yr athrawiaethol, a'r ddysgyblaethol; ac yn y tair agwedd yna ar eu swyddogaeth gallwn yn rhesymol ddysgwyl canfod defnyddiad o'r awdurdod a roddwyd iddynt; ac yn hyn nid ydym yn cael ein siomi. Yn eu gweinidogaeth, yr oeddynt yn agor teyrnas nefoedd o flaen dynoliaeth. Yn y cymeriad hwn y defnyddient yr agoriadau. Wedi i'r Iesu gyhoeddi gwae uwchben y Phariseaid am gau teyrnas nefoedd, cymerodd yr agoriadau oddiarnynt, a throsglwyddodd hwy i'r deuddeg. Yr oedd yr apostolion yn derbyn i'r eglwys y rhai a daflai yr awdurdodau Iuddewig allan o'r synagog. Ar ddydd y Pentecost gollyngodd Pedr dair mil i mewn i deyrnas nefoedd; ac wedi hyny, yn nhy Cornelius, am y tro cyntaf erioed, agorodd y drws yn llydan o flaen y Cenedloedd. Megys y gwnaeth Pedr, felly y gwnaeth yr apostolion eraill. Yr oeddynt drwy eu pregethau yn taflu drysau teyrnas weledig yr efengyl yn agored, ond nid oeddynt wrth hyny yn honi y gallu i benderfynu tynged dragywyddol eneidiau.

Yn yr ail ddosbarth o'u swyddogaeth, nodent allan y dyledswyddau a berthynent yn briodol i ddeiliaid y

cyfamod newydd. Yn yr ystyr hwn yr oeddent yn rhwymo ac yn rhyddhau. Yr oedd aelodau yr eglwysi cyntaf yn neillduol anghydfodus parth y gwahaniaeth rhwng gofynion y ddeddf a gofynion yr efengyl. Mynych yr ymgodai anghydwelediad yn nghylch rhwymedigaeth yr aelodau Iuddewig a Chenedlig gyda golwg ar seremoniau y gyfraith—rhai o honynt yn dadleu fod dosbarth o ofynion y ddeddf seremoniol yn aros, tra eraill yn dadleu eu bod oll wedi eu llwyr ddileu, a hyny yn oes-oesoedd. Yn yr achos yna yr ydym yn gweled yr apostolion yn dyfod yn mlaen gan gyhoeddi pa ddyledswyddau oedd yn rhwymedig, a pha ddyledswyddau yr oeddynt yn rhydd oddiwrthynt. "Canys gwelwyd yn dda gan yr Ysbryd Glan," medd-ai Paul, "a chenym ninau, na ddodid arnoch faich ychwaneg na'r pethau angenrheidiol hyn: Bod i chwi ymgadw oddiwrth yr hyn a aberthwyd i eilunod, a gwaed, ac oddiwrth y peth a dagwyd, ac oddiwrth od-ineb, oddiwrth yr hyn bethau os ymgedwch, da y gwnewch." (Act. xv. 28, 29.) Nid ychwanegwn eng-reifftiau; gall y darllenydd gael digonedd o honynt yn rhanau diweddol yr holl Epistolau, a gweled yn y rhai hyny y modd yr oedd yr apostolion yn rhwymo ac yn rhyddhau.

Yn y mynegiad o weithrediadau yr eglwys apostol-aidd, ymddengys arddangosion o'r drydedd adran, sef yr un ddysgyblaethol. Yn hono nodir achosion yn y rhai y mae rhai pechodau yn cael eu maddeu, ac ach-osion eraill yn y rhai y mae pechodau yn cael eu hatal. Fel siamplau o rai y maddeuwyd, neu y gellir maddeu iddynt, sylwer ar 2 Cor. ii. 7; Gal. vi. 1; Judas 22;

ac fel siamplau o rai na faddeuwyd iddynt, neu nad ellir maddeu iddynt, myfyrier yr engreifftiau canlynol: 1 Cor. v. 11; 1 Tim. i. 20; Titus iii. 10, 11. Y mae dyiarniadau yr apostolion yn yr achosion hyn yn aros megys rhagreolau safonol, a doethineb uwchaf eglwysi yr oesau, yn mhob achos o ddysgyblaeth ar y rhai afreolus, ydyw gweithredu yn ol y cyfarwyddyd a geir ynddynt.

Gwelir fod rhediad y nodiadau uchod yn cyfogwyddo i gadarnhau y grediniaeth, yn gyntaf, nad ydoedd yr awdurdod apostolaidd yn cyrhaedd yn mhellach na materion eglwysig yn y byd hwn. Nid ydoedd o gwbl yn penderfynu tynged dragywyddol dynion yn y byd a ddaw. Gwelir, yn ail, gan fod yr Ysbryd Glan yn preswylio yn nghalonau cyfeillion Crist yn mhob oes, fod yn rhaid fod grym dwyfol yn mhenderfyniadau pob eglwys, yn yr oes hon, pan ymgynullo yn nghyd yn enw yr Arglwydd Iesu. A gwelir, yn olaf, gan fod eglwysi y Duw byw, yn eu cynulliadau, ar wahanol adegau, yn deddfyddu gyda golwg ar ddyledswyddau, athrawiaethau, a phersonau, mor angerddol y dylai eu gweddiau fod am gyfarwyddyd yr Ysbryd Glan.

# Y RHAI OLAF YN FLAENAF.

"Canys teyrnas nefoedd sydd debyg i wr o berchen ty, yr hwn a aeth allan a hi yn dyddhau, i gyflogi gweithwyr i'w winllan. Ac wedi cytuno a'r gweithwyr er ceiniog y dydd, efe a'u hanfonodd hwy i'w winllan. Ac efe a aeth allan yn nghylch y drydedd awr, ac a welodd eraill yn sefyll yn segur yn y farchnadfa; Ac a ddywedodd wrthynt, Ewch chwithau i'r winllan; a pha beth bynag a fyddo cyfiawn, mi a'i rhoddaf i chwi. A hwy a aethant ymaith. Ac efe a aeth allan drachefn yn nghylch y chweched a'r nawfed awr, ac a wnaeth yr un modd. Ac efe a aeth allan yn nghylch yr unfed awr ar ddeg, ac a gafodd eraill yn sefyll yn segur, ac a ddywedodd wrthynt, Paham y sefwch chwi yma ar hyd y dydd yn segur? Dywedasant wrtho, Am na chyflogodd neb nyni. Dywedodd yntau wrthynt, Ewch chwithau i'r winllan; a pha beth bynag fyddo cyfiawn, chwi a'i cewch. A phan aeth hi yn hwyr, arglwydd y winllan a ddywedodd wrth ei oruchwyliwr, Galw y gweithwyr, a dyro iddynt eu cyflog, gan ddechreu o'r rhai diweddaf hyd y rhai cyntaf. A phan ddaeth y rhai a gyflogasid yn nghylch yr unfed awr ar ddeg, hwy a gawsant bob un geiniog. A phan ddaeth y rhai cyntaf, hwy a dybiasant y caent fwy; a hwythau a gawsant bob un geiniog. Ac wedi iddynt gael, grwgnach a wnaethant yn erbyn gwr y ty. Gan ddywedyd, Un awr y gweithiodd y rhai olaf hyn, a thi a'i gwnaethost hwynt yn gystal a ninau, y rhai a ddygasom bwys y dydd a'r gwres. Yntau a atebodd ac a ddywedodd wrth un o honynt, Y cyfaill, nid ydwyf yn gwnaethur cam a thi; onid er ceiniog y cytunaist a mi? Cymer yr hyn sydd eiddot, a dos ymaith: yr ydwyf yn ewyllysio rhoddi i'r olaf hwn megys i tithau. Ai nid cyfreithlawn i mi wneuthur a fynwyf a'r eiddof fy hun? neu a ydyw dy lygad di yn ddrwg, am fy mod i yn dda? Felly y rhai olaf a fyddant yn flaenaf, a'r rhai blaenaf yn olaf: canys llawer sydd wedi eu galw, ac ychydig wedi eu dewis."—MAT. xx. 1—16.

Y mae unrhyw ddosbarth yn yr ysgol Sul a gyferfydd a'u gilydd er darllen a cheisio deall y ddameg

uchod, yn rhwym o deimlo ei bod yn un o'r rhai mwyaf dyrys o holl ddamegion y Testament Newydd. Yn wir, cydnabyddir hi felly gan y rhai sydd wedi treulio mwyaf o amser i'w myfyrio, ac a feddant y manteision goreu i'w hiawn-ddeongli. Nid ydym ni, wrth argymeryd a'r gwaith o ysgrifenu arni, yn golygu awgrymu fod yr eglurhad a ganlyn yn rhagori ar eiddo unrhyw esboniwr blaenorol; ein hunig obaith ydyw, y gall ein hymgais fod o gymorth i'r athrawon hyny sydd yn ymbleseru yn y gwaith o geisio deall a dysgu meddyliau yr Athraw. Tybygem mai

YMHOLIADAU

cyffelyb i'r rhai canlynol fuasai darlleniad ystyriol o'r ddameg yn eu cyffroi; ac y mae rhai o'r gofyniadau, os nad yr oll, yn ymwneyd a'r prif anhawsderau a gyfarfyddant feddwl y darllenydd.

1. Pa beth ydyw y gwirionedd, y ddysgeidiaeth, neu yr athrawiaeth y mae y ddameg wedi ei bwriadu i'w hegluro?

2. Ai eglurhad ydyw y ddameg ar adnod olaf y benod o'r blaen, yr hon a ymddengys eilwaith yn adnod olaf y ddameg, ond gydag ychydig o ychwanegiad, sef, "Ond llawer o'r rhai blaenaf a fyddant yn olaf, a'r rhai olaf yn flaenaf;" ac os felly, pa fodd y mae y ddameg yn eglurhad ar wiredd y dywediad hwnw?

3. Pwy sydd yn cael eu cynrychioli gan y grwgnachwyr?—ai deiliaid teyrnas ysbrydol Iesu Grist ydynt? —ac os felly, pa fodd y gellir cysoni y grwgnachrwydd a'r ffaith fod cadwedigaeth yn hollol o ras? O'r tu arall, os nad y cadwedigion ydynt, pa fodd y gellir cy-

soni hyny drachefn a'r ffaith eu bod wedi bod yn llafurio yn y winllan drwy y dydd, ac am y llafur hwnw wedi derbyn cyflog?

4. A ydyw yr ymadrodd a leferir wrth y grwgnachwyr yn golygu eu hamddifadu yn hollol o wynfyd y nefoedd, "Cymer yr hyn sydd eiddot, a dos ymaith?" (adn. 14,) ac hefyd, yn mha gyfnod yn hanes goruchwyliaethau Duw yr â y Perchenog i gyfrif, drwy ei oruchwyliwr, â'r gwinllanwyr?

5. Ar ba dir y mae ymddygiad y "Gwr o berchen ty" yn ymddangos yn gyfiawnhaol, pan yn rhoddi yr un faint o wobr i weithwyr yr un awr, a gweithwyr y deuddeng awr?

6. A oes cyfeiriad yn y ddameg at eiddigedd y genedl Iuddewig, o herwydd fod y Cenedloedd yn gyfartal a hwy yn y deyrnas gyfryngol, neu ynte a olygai Crist wrth ei llefaru i'r ddameg wasanaethu fel cerydd i'r apostolion, ac i Pedr yn neillduol, am y gorawydd a ddangosasant am flaenoriaeth yn anrhydeddau ei deyrnas?

Cyn amcanu rhoddi yr hyn a ymddengys i eraill, neu ynte a ymddengys i ni, yn cynwys prif ddysgeidiaeth y gyffelybiaeth, credwn y bydd yn fanteisiol i'r darllenydd, fel y bu i ninau, i sylwi ar arwyddluniau naturiol y ddameg. Llefarwyd hi wrth yr Iuddewon; ac fel y mae yn naturiol dysgwyl, y mae yr arwyddluniau a ddefnyddir, yn nghyda'r cyfeiriad a geir ynddi at hirfrydedd (adn. 12), i'w deall oddiar safle Iuddewig. Rhaid iawn-ddeall y naturiol cyn y deallir yr ysbrydol, amgyffred y llun cyn y mae yn ddichonadwy amgyffred yr ad-lun, yr hwn yr amcanai yr allegwr ei ar-

ddangos. Y mae pob rhan o'r olygfa naturiol yn lliwiedig a defion Iuddewig. Nodwn y rhai pwysicaf.

*Adegau y cyflogi.*—Pan yn dyddhau, y drydedd awr, y chweched awr, a'r unfed awr ar ddeg—amserau a gyfatebant i chwech, naw, a deuddeg y boreu, tri a phump o'r gloch yr hwyr o'n hamser ni. Yr oedd diwrnod yr Iuddewon, fel y Groegiaid, yn cael ei wneyd i fyny o ddeuddeg awr, yr hwn a ddosberthid yn chwarteri o dair awr yr un; ac nid peth anfynych ydoedd gweled perchenogion y gwinllanoedd, fel yn y ddameg, yn myned allan cyn dechreu pob un o'r chwarteri hyn, i ymofyn am weithwyr. Y mae yr amser o'r dydd y dechreuodd ty-ddaliwr y ddameg gyflogi, yn cytuno yn hollol a'r hanesion Iuddewig. "Medd R. Juda, ben Bethira, pryd y mae holl wyneb y Dwyrain yn oleu hyd Hebron, y mae yr holl bobl yn myned allan, pob un at ei waith; a phryd y mae mor oleu, dywedwn ei bod yn dda i gyflogi gweithwyr." Ar yr hyn y dywed yr esboniad, "Y mae pob dyn yn myned allan at ei waith, nid i ymofyn gweithwyr; ond y perchen ty, yr hwn sydd yn cyfodi yn foreuach i geisio gweithwyr."

*Swm y gyflog.*—Ceiniog, sef y geiniog Rufeinaidd a elwid *denarius.* Bathodyn ydoedd hwn o arian, ac yn gyfwerth, yn ol mwyafrif esbonwyr, i saith geiniog a dimai o arian Lloegr. Hwn ydoedd y cyflog rheolaidd yn Mhalestina am y fath waith, ac yr oedd yn cael ei ystyried yn dâl hollol rhesymol.

*Segurwyr y farchnad.*—Dywed Trench, fod Morier, yn ei *Second Journey through Persia, p.* 265, yn crybwyll ei fod wedi sylwi ar arferiad cyffelyb i'r un a

nodir yn y ddameg, yn marchnadle Hamadan. "Yma sylwasom bob boreu cyn i'r haul godi, fod torf o wladwyr, gyda rhawiau yn eu dwylaw, yn ymgasglu, yn dysgwyl cael eu cyflogi am y diwrnod i weithio yn y maesydd cylchynol. Tarawodd yr arferiad hwn fi fel arddangosiad dedwydd o ddameg y Gwaredwr, yn enwedig pan yn pasio heibio yn ddiweddarach ar y dydd, y gwelem eraill yn sefyll yn segur, ac y cofiasom y geiriau, 'Paham y sefwch chwi yma ar hyd y dydd yn segur?' oblegid wrth roddi yr un gofyniad iddynt, atebasant, 'Am na chyflogodd neb nyni.'"

*Talu y gwinllanwyr.*—Yn ol y gyfraith, yr oedd cyflog y diwrnod i'w dalu tua machlud haul. "Yn ei ddydd y rhoddi iddo ei gyflog; ac na fachluded yr haul arno: canys tlawd yw, ac â hyn y mae yn cynal ei einioes." (Deut. xxiv. 15.) Nis gallasai y cyflogedig hawlio ei gyflog yn gynt na hyn, ac nis gallasai y cyflogwr ei atal yn hwy oddiwrtho. (Gwel hefyd, Lef. xix. 3; Job vii. 2; Mal. iii. 5; Iago v. 4.)

*Yr hinsawdd ddwyreiniol.*—Dywed y grwgnachwyr eu bod hwy wedi dwyn "pwys a gwres y dydd." Y mae y gair *gwres* yma yn cyfateb i air Hebraeg a gyfieithir yn *wynt dwyreiniol*, yr hwn a elwid felly am ei fod yn fwy rhostiol na gwyntoedd eraill. Tramwyai drwy y Dwyrain yn mhoethder y dydd, gan ddeifio pob peth y ffordd y teithiai. Ceir cyfeiriadau ato, ac at ei effeithiau, yn Esa. xlix. 10; Ezec. xix. 12; Luc xii. 25; Iago i. 11. Nis gallasai dim fod yn fwy difaol na gweithio yn y winllan yn ystod trawsfynediad hwnw; ond yr oedd y rhai a weithient yn ddiweddar yn y

prydnawn, tua machludiad yr haul, yn cael gweithio yn nghysgodion oerion yr hwyr.

Yn awr, y mae i'r holl arweddau hyn o fywyd Iuddewig, fel y benthycir hwy gan Grist, y Damegwr, eu hystyr ddysgeidiol, fel y maent yn arddangos i ni ryw nodwedd arbenig berthynol i deyrnas Dduw—"Canys teyrnas nefoedd sydd *debyg*," &c. Gall fod yn gynorthwyol, drachefn, wedi cael rhyw syniad am yr arwyddluniau, i chwilio am eu harwyddocad.

Beth yn nheyrnas Dduw sydd yn *debyg* iddynt? Wrth arfer gorfanylder, y mae perygl ymgolli mewn gwrthuni yn y cyfeiriad hwn; ond yn sicr, gellir sylwi ar rai o'r pethau a ddywedir am ddyn yn y ddameg fel cyfryngau i roddi gwybodaeth nacaol neu gadarnhaol, am yr hyn a ddysgir drwyddi am Dduw yn ei Fab. Er mwyn eglurdeb, dodwn yr arwyddluniau un ochr, a'r hyn a ystyriwn a arwyddoceir ganddynt yn yr ochr gyferbyniol.

| ARWYDDLUNIAU. | ARWYDDOCAD. |
| --- | --- |
| Adn. 1. "Teyrnas nefoedd." | Llywodraeth ysbrydol Duw dros eneidiau dan yr efengyl. |
| "Gwr o berchen ty," | Y mae yr egwyddor sydd yn llywodraethu ymddygiad Duw at ei bobl, yn tebygu mewn rhai pethau i'r egwyddor sydd yn llywodraethu ymddygiad tyddaliwr at y rhai a weithiant yn ei winllan. |
| "A hi yn dyddhau." | Gwawriad y cyfnod Cristionogol. |
| "I'w winllan." | Eglwys Iesu Grist. Y rhanbarth y cododd Duw furiau o'i amgylch er iddo ffrwytho. (Mat. xxi. 33–44.) |
| Adn. 2. "Er ceiniog y dydd." | Y bywyd tragywyddol a addawa Duw i'w holl wasanaethwyr gwirioneddol. |

Adn. 3. “Y drydedd awr.”

Cyfnod dylynol i’r un a nodir yn adn. 1, yn dynodi treigliad y blynyddau.

“Yn y farchnadfa.”

Y farchnad ydoedd cyrchfan ac arosfan segurwyr. Segurwyr ydyw pawb nad ydynt yn gwasanaethu Duw; a’r byd, y tu allan i’r eglwys, ydyw eu harosfan.

Adn. 5. “Y chweched a’r nawfed awr.”

Dosbarth diweddarach drachefn yn nhymor teyrnasiad Duw drwy yr efengyl.

Adn. 6. “Yr unfed awr ar ddeg”

Y rhan olaf o amser y byd, cyn i Dduw ddyfod i wneuthur cyfrif a thrigolion y ddaear.

Adn. 8. “A phan aeth hi yn hwyr.”

Diweddiad yr oruchwyliaeth efengylaidd.

“Wrth ei oruchwyliwr.”

Goruchwyliwr Duw dan yr efengyl ydyw yr Arglwydd Iesu, ac iddo ef y mae y Tad wedi ymddiried gweini y cosbau a’r gwobrau. (Dat. ii. 7, 10, 17, 28, &c.)

Adnod 11. “Grwgnach a wnaethant.”

Nis gall neb, am y rhesymau a roddir gan y Perchenog, lai na chondemnio ymddygiad y grwgnachwyr; ac os ydoedd ymddygiad y grwgnachwyr yn y ddameg yn gondemniedig, yr oedd ymddygiad Pedr a’i frodyr, y rhai ydynt wrthluniau llafurwyr y ddameg, yn gondemniedig hefyd, gan eu bod hwy yn dysgwyl ffafrau neillduol mewn blaenoriaeth, ar gyfrif yr aberth y tybient oeddynt wedi wneyd wrth ddylyn Crist pan y gwnaethant. Dangosir yma afresymoldeb eiddigedd neb at y rhai a dderbyniant ffafrau gan Dduw.

Adn. 12. “Ddygasom bwys y dydd a’r gwres.”

Crefydda yn nhymor cyntaf Cristionogaeth.

Adn. 13. “Y cyfaill, nid ydwyf yn gwneuthur cam a thi.”

Yr arddull amddiffynol y gallasai Duw ei mabwysiadu pe y byddai y fath beth yn ddichonadwy byth ag i un o’r llafurwyr, fel y gwnelai Pedr yn ei anwy-

bodaeth, achwyn oblegid ei safle gymharol yn ei deyrnas.

Adn. 14. "Cymer yr hyn sydd eiddot, a dos ymaith."

Megys y gwna gweithiwr wedi derbyn ei dâl — myned ymaith, nid o wasanaeth ei feistr, ond i fwynhau ffrwyth ei lafur; felly, ni olyga hyn ysgariaeth oddiwrth Dduw, ond ymneillduad o swyddfa y farn i fwynhau gwobr y nefoedd. Cofier o hyd mai amddiffyniad *posibl* Duw ydyw hwn, wedi ei achlysuro gan ymhongarwch Pedr.

Adn. 15. "A ydyw dy lygad di yn ddrwg, am fy mod i yn dda?"

Pe y grwgnachai neb byth fod eraill yn cael mwy nag ef, profai hyny, nid anghyfiawnder Duw, ond anmherffeithrwydd dyn.

Adn. 16. "Y rhai olaf fyddant yn flaenaf."

Caiff pawb a wasanaethant Dduw fywyd tragywyddol; ond yn mysg y miliynau a'i gwasanaethant, bydd rhai yn cyflwyno gwasanaeth rhagorach nag eraill; felly ca y rhai hyny, nid y gyflog yn unig, ond anrhydedd lawer yn ychwanegol; ac y mae yr anrhydedd ychwanegol hwnw i'w roddi yn gwbl annibynol ar y cyfnod yn hanes y byd y darfu iddynt gyflwyno eu gwasanaeth.

Er fod y nodiadau cyferbyniol uchod yn rhag-gysgodi ein tyb ni am yr hyn ydyw prif ddysgeidiaeth y ddameg, nis gall fod yn annyddorol, nac ychwaith yn ddifudd i'r ymofyngar i sylwi yn fanwl ar farnau ysgrifenwyr eraill. Gwelir oddiwrth y dyfyniadau canlynol o Esboniadau ar Efengyl Matthew, ac ar y ddameg hon, fod awdurdodau uchelaf y byd deongliadol yn amrywio yn ddirfawr wrth geisio ateb y gofyniad, "Pa wirionedd ydyw *y* gwirionedd mawr a gyfansodda ysgyrniaeth y ddameg hon?"—ond rhaid cydnabod fod

rhai o honynt wedi ysgrifenu cyn fod beirniadaeth Feiblaidd wedi ymwisgo yn ei ffurf gelfyddydol. Sylwer ar yr hyn a ddywed ychydig o'r llawer y buom yn ymgyngori a hwy.

*Calvin* a ddywed, "Fod gan Dduw hawl annherfynol i ddosbarthu ei roddion fel y gwelo efe yn oreu, ac yn rhwym, mor belled ag y mae yn rhwym o gwbl, yn unig gan ei addewid ei hun; nid gan un hawl o'n tu ni, a'n bod yn sefyll, nid trwy deilyngdod, ond trwy ei ras rhad ef, fel nad ydyw yn gwneyd un camwri pan y mae yn cyfleu ei roddion tymorol ac ysbrydol lawer yn helaethach i rai nag eraill, megys pan y mae yn arwain rhai drwy lwybr dyrys a blinderog i afael a bendithion a gyrhaeddir gan eraill gyda rhwyddineb a chyflymdra." Creda Calvin felly, mai i ddysgu y gwirionedd pwysfawr hwn y llefarwyd y ddameg.

*Burkitt* a ddywed, "Fod ystyr a deongliad daublyg yn cael ei roddi i'r ddameg hon, ond y ddau yn gyffelybiaethol. Y mae un o honynt yn cyfeirio at alwad y Cenedloedd. Yr Iuddewon oedd y bobl gyntaf oedd gan Dduw yn y byd. Cawsant eu cyflogi yn brydlon i'r winllan yn y boreu; ni chafodd y Cenedloedd nes oedd y dydd wedi rhedeg yn mhell; ond fe gaiff y Cenedloedd, yn ol ewyllys da a haelioni Duw, dderbyn yr un wobr o fywyd tragywyddol ag oedd mewn addewid i'r Iuddewon, y rhai a ddyoddefodd wres y dydd tra yr oedd y Cenedloedd yn sefyll yn segur. Yn yr ystyr gyffelybiaethol arall, gallwn ddeall pawb, mewn ystyr annherfynol, a elwir gan yr efengyl i'r eglwys weledig, y rhai a elwir ddiweddaf a gânt eu gwobrwyo yn nghyda'r rhai cyntaf; ac o ganlyniad, dyben a bwriad

y ddameg ydyw dangos rhadlonrwydd dwyfol ras yn y cyfraniad o'r gwobrau hyn, y rhai y mae llaw trugaredd yn gyfranu i weision ffyddlon Duw."

*Trapp* a ddywed, "Yr oedd Pedr a'r gweddill mewn perygl o gael eu chwythu i fyny gan y ragdybiaeth o helaethrwydd eu gwobr, a addawyd yn pen. xix. 28, 29. I atal hyn, ac fel nas gallasent sefyll ar eu telerau a'u dysgwyliad eu hunain, rhoddir iddynt i wybod, drachefn a thrachefn, y bydd llawer o'r rhai ydynt yn mlaenaf yn olaf, a'r olaf yn mlaenaf."

*Matthew Henry* a ddywed, "Yn awr ymddengys mai hyn ydyw prif dueddnod y ddameg hon, i ddangos mai yr Iuddewon fuasai y rhai cyntaf i gael eu galw i'r winllan, ac y buasai llawer o honynt hwy yn dyfod ar yr alwad, ond yn mhen amser y buasai yr efengyl yn cael ei phregethu i'r Cenedloedd, y buasent hwy yn cael eu derbyn, ac yn cael derbyniad i ragorfreintiau a manteision cyfartal a'r Iuddewon—yn gyd-ddinasyddion a'r saint, yr hyn y buasai yr Iuddewon, hyd yn nod y rhai oeddynt yn credu, yn ei wrthflasu yn fawr, ond heb un rheswm."

*Olshausen* a ddywed, "Amcan uniongyrchol y ddameg ganlynol, o ganlyniad, fel y dengys y cysylltiad, ydyw hyn, dysgu yr apostolion pa fodd nad ydoedd eu galwad hwy, o hono ei hun, yn cyfroddi iddynt hwy unrhyw ragorfraint neillduol, a pha fodd y gallasai y llafurwyr ffyddlon yn nheyrnas Dduw, y rhai a alwyd mewn cyfnod diweddarach, gael eu gosod ar droediant cyfartal iddynt yn ol dyfarniad rhydd a diamodol gras dwyfol."

*Dr. Campbell* a ddywed, "Amcan y ddameg ydyw

diwygio yr Iuddewon, y rhai oeddynt eiddigeddus o'r Cenedloedd. Chwenychent hwy gael gorfaeliant parhaol o'r ffafr ddwyfol, a'i bendithion efengylaidd."

*Alford* a ddywed, "Fod cyfeiriad gwreiddiol y ddameg at yr apostolion." Cytuna ef a Stier a Trench i osod pwys mawr ar y cerydd a roddir i'r gwinllanwyr anfoddog (adn. 14), yn gymaint felly fel y gwna iddo arwyddo y posiblrwydd o'u gwrthodiad diweddol. Y mae Trench yn gwneyd rhywbeth rhagor nag awgrymu y posiblrwydd dychrynllyd hwn. Eglura Alford mai y wobr, neu y geiniog, ydyw bywyd tragywyddol, neu mewn geiriau eraill, "Duw ei hun;" ond darlunia y rhai eiddigeddus a grwgnachlyd yn gyffelyb i'r rhai y troes ffrwyth yn lludw yn eu geneuau. Dywed E. R. Conder, M. A., yn ei esboniad ar Matthew, ac mewn cyfeiriad at olygddysg Alford, "Fod hyn yn ymddangos yr anghyfdyb (*paradox*) fwyaf dyeithr—y gall dyn dderbyn bywyd tragywyddol a bod yn golledig yn y diwedd. Y mae hyn," ychwanega, "yn engraifft o *orddeongli*."

*Barnes* a ddywed, "Y mae (y ddameg) wedi ei bwriadu yn unig i ddysgu fod Crist yn gwneuthur gwahaniaeth YN yr eglwys, yn mysg y tyrfaoedd a fyddant cadwedig; gwna rai yn fwy defnyddiol nag eraill, ar wahan i'r *amser* y gwasanaethant, ac y byddo iddo eu gwobrwyo yn gyfatebol. Y mae y ddameg yn dysgu UN gwirionedd, a dim ond UN."

*F. C. Cooke*, caplan y Frenines, a ddywed yn y *Speaker's Commentary*, "Gall fod graddau a gwahaniaethau, yn ddiddadl, yn nghyflwr dyfodol gwaredigion Crist, ond nid ydyw y gwahaniaethau hyny yn

ffurfio un ran o gyfamod gras, yn yr hwn y mae yr un rodd o fywyd tragywyddol yn cael ei chynyg i bawb drwy haeddiant y Gwaredwr, llawer llai o dan y cyfamod hwnw y gall unrhyw ddyn anturio meddwl y caiff ragor."

*Testament yr Ysgol Sabbothol* a ddywed, "Y mae llawer o ddadlu wedi bod o barth i brif ddrychfeddwl y ddameg. Barna rhai mai y drychfeddwl hwnw yw, fod gwobr teyrnas nefoedd yr un faint i bawb o'r deiliaid, fel y cafodd pob un o'r gweithwyr ei geiniog; eraill, mai nid ar hyd yr amser, ond ar ffyddlondeb yn ei wasanaeth, y mae yr Arglwydd yn sylwi; eraill, mai y prif ddrychfeddwl ydyw y gwahanol oriau y cyflogid y gweithwyr; ond y golygiad mwyaf cywir ydyw, mai penarglwyddiaeth ydyw cyfraith fawr teyrnas Dduw,—mai o ras, nid o ddyled, y mae y wobr; nad oes gan y rhai a weithiasant hwyaf fwy o hawl ar Dduw na'r rhai a alwyd olaf, ond y saif efe at ei air a'i gyfamod â phawb o ddeiliaid ei deyrnas."

*F. T. Hill* a ddywed, "Cynygiaf ddangos fod yr amser a dreulir mewn llafur yn cynrychioli swm y llafur, ac fod maint y llafur yn cynrychioli maint yr aberth. Hyn yr ydwyf fi yn ei gymeryd yn allwedd i'r ddameg." (*Expositor*, *vol.* iii. 427.)

*S. Cox* a ddywed, "Am danaf fy hun, nid ydwyf yn gwybod am un (allwedd) sydd yn ein gollwng mor bell iddi a hwn, 'Yn ngwasanaeth Duw, gwobr oreu llafur ydyw llafur, fel y gall y rhai y mae ganddynt fwyaf o waith fod yn hollol foddlon ar y wobr leiaf.'"—(*Expositor*, *vol.* iii. 427–8.)

Nid ydym ni am geisio amddiffyn na chondemnio un

o'r golygiadau uchod, yn unig amlygu ein crediniaeth mai yr hyn a ddysgir yn benaf drwy y ddameg ydyw,

UNRHYWIAETH GWOBR, AC AMRYWIAETH ANRHYDEDD CANLYNWYR CRIST.

Yn ffodus, y mae yr hyn a arweiniodd i lefariad y ddameg, (ac nis gellir ei deall ond mewn cysylltiad â hyn, oblegid y cyd-destynau sydd yn egluro y ddameg, ac nid y ddameg y cyd-destynau,) yn weddol eglur. Yr Arglwydd Iesu sydd yn niwedd y benod flaenorol, mewn atebiad i ofyniad Pedr, "Beth gan hyny a fydd i ni?" yn hysbysu yn gyntaf beth fuasai gwobr yr apostolion (darllener adn. 28), ac yn cyhoeddi, yn ail, beth fuasai gwobr *pawb*, yn ystod holl oesau y ddaear, a wnelent aberth o bob rhwystr i ymlynu yn hollol wrtho. (Adn. 29.) Gwelir felly mai egluro modd, maint, a'r anrhydeddau cysylltiedig â'r gydnabyddiaeth a rydd Crist i'w ddylynwyr, raid fod amcan y ddameg. Dichon y gwelir dysgeidiaeth y ddameg ar y nodwedd uchod berthynol i weinyddiadau Duw at ei bobl, gyda mwy o fantais yn ngoleu y gosodiadau canlynol:

1. *Mae yr holl winllanwyr yn ngwasanaeth yr un Meistr.* Yn y winllan, ac yn yr un winllan, y maent oll, sef yn eglwys Dduw ar y ddaear. Nid ydyw y ddameg yn rhagdybio proffeswyr rhagrithriol i'w colli, a phroffeswyr gwirioneddol i'w cadw. Gwir y bydd rhai o honynt yn *olaf*, a rhai yn *flaenaf*, ond gan nad pa un ai blaenaf ai olaf fyddant, nid ydyw eu safle yn yr orymdaith gadwedig yn eu dadgysylltu oddiwrthi. Y maent oll yn rhengau byddin yr Oen, ac yn cyfansoddi gwahanol gatrodau o honi. Digon o brawf, pe

na byddai un arall, o wirioneddolrwydd crefydd y gwinllanwyr yn gyffredinol, ydyw fod y Perchenog anfeidrol wedi gwobrwyo pob un o honynt: nid oedd cymaint ag un yn eu mysg nad estynwyd y geiniog iddo. Dengys yr ystyriaeth hon y debygoliaeth a fodolai rhyngddynt.

2. *Mae yr holl winllanwyr yn cael yr unrhyw wobr gan y Meistr.* Dichon y bydd eu safleoedd yn cael eu gwrthdroi, ond yr un ydyw eu gwobr oll—*ceiniog.* Caiff pob credadyn, gan nad pa mor wan ei allu, na pha mor gyfyng ei gylch, fwynhau yr un bywyd tragywyddol a'r uwchaf ei gyrhaeddiadau. Rhoddir y bywyd hwnw iddo, nid am ei waith, ond yn rhinwedd y cyfamod a wneir âg ef. Efe yn addaw gwasanaeth, a Duw yn addaw gwobr. Ond y mae y wobr yn annhraethadwy fwy ei gwerth na'r llafur sydd yn ei sicrhau.

3. *Mae rhai o'r gwinllanwyr, gyda y wobr, yn derbyn anrhydedd arbenig.* Galwyd llawer i'r winllan ar y drydedd, ar y chweched, ar y nawfed, ac ar yr unfed awr ar ddeg, ond o'r llawer a atebasant alwad y nefoedd, ac a aethant i'r winllan, ychydig o'r rhai hyny a *ddewiswyd* i fod yn dderbynwyr urddas uwchlaw eu cydweithwyr; ond yr oedd cymaint o enaid yn llafur ac ymroddiad anhunanol y rhai hyny, fel er iddynt ddyfod i'r deyrnas ar yr unfed awr ar ddeg, hoffwyd hwy i gymaint graddau gan Chwiliwr y galon, fel y gosodwyd hwy o flaen y rhai a ddaethant i fewn ar y chweched awr, ac felly mewn anrhydedd, aeth y rhai blaenaf yn olaf, a'r olaf yn flaenaf. Yn y dydd y bydd Duw yn gwastadhau ei gyfrifon â'r ddaear, caiff pob

gwir addolwr fywyd tragywyddol; ond gan fod yn bosibl enill rhywbeth ychwanegol yn nghystadleuaeth crefydd, dyledswydd holl ddysgyblion Crist ydyw ymgyrhaedd at deilyngu y gymeradwyaeth ddwyfol a'i sicrha, ac felly ymddangos yn nghylchoedd uchelaf gogoniant Duw. Yr ydym yn cael ein gogleisio â'r syniad bendigaid nad ydyw y byd eto wedi gweled cymeriadau ardderchocaf crefydd. Y mae llawer yn ystod yr oriau sydd wedi myned heibio o ddydd gras Duw, wedi dyfod i mewn i'r eglwys. Gwyr nerthol oedd yr apostolion, y diwygwyr, a'r merthyron. Y mae sefyllfa y winllan heddyw yn tystiolaethu i'w llafur a'u llwyddiant; ond pwy a wyr nad yn esgoreddfa y dyfodol y mae rhai *blaenaf* teyrnas nefoedd. Nis gwyddom na fydd yn mysg gweithwyr y nawfed awr, a'r unfed awr ar ddeg, ymresymwyr mwy gorchfygol na Phaul, diwygwyr mwy brwdfrydig na Phedr, a phregethwyr mwy hyawdl nag Apolos.

---

## DUW Y RHAI BYW.

"Ond am y meirw, yr adgyfodir hwynt; oni ddarllenasoch chwi yn llyfr Moses, y modd y llefarodd Duw wrtho yn y berth, gan ddywedyd, Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob? Nid yw efe Dduw y meirw, ond Duw y rhai byw."—MARC xii. 26, 27.

"Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob." Dyfynir y geiriau hyn o Exodus iii. 6, oblegid, yn marn y Duw a'u llefarodd ar y cyntaf, ac a

wyddai ddyfnder eu cynwysiad yn annrhaethol well na neb arall, fod ynddynt gadarnhad i athrawiaeth yr adgyfodiad. Yr oeddynt wedi eu darllen filwaith gan y genedl, wedi eu hadysgrifenu luaws o weithiau gan yr ysgrifenyddion, ac wedi eu beirniadu lawer canwaith gan ddysgedigion Israel; ond hyd yn hyn, nid oedd un ysgrifenydd, beirniad, na chyfreithiwr, wedi darganfod ynddynt yr athrawiaeth o fywyd wedi angeu, fel, pan ddatguddiwyd hyny gan yr Athraw, gostegodd y Saduceaid (Mat. xxii. 34), synodd y torfeydd at ddoethineb a medr y Dysgawdwr (Mat. xxii. 33), a chanmolodd yr ysgrifenyddion ei ddefnyddiad newydd, ond argyhoeddiadol, o un o ranau annhebyg llyfrau Moses. (Luc xx. 39.) Nis gall unrhyw amheuaeth fodoli. felly, nad ydyw y geiriau a lefarwyd gan Dduw o'r berth, ac a ddyfynwyd gan Grist yn yr efengylau, yn cynwys yr athrawiaeth o adgyfodiad; ond nid ydyw y *modd* y gorwedd yr athrawiaeth yn y geiriau yr un mor eglur. Yn wir, ar yr olwg gyntaf, ymddengys y casgliad a dynir oddiwrth y dyfyniad yn fwysaidd ac anghysylltiol, ac yn herwydd yr ymddangosiad hwn, nid ydyw yn hawdd gweled pa fodd y mae holl ranau y testyn yn gwasanaethu fel prawf o anfarwoldeb enaid, ac adgyfodiad corph. Pwy, wrth fyfyrio y darn hwn o'i ddysgeidiaeth ef, all beidio teimlo hawl yr

YMHOLIADAU

canlynol ar ei ystyriaeth: Pa beth yn ngeiriau Duw wrth Moses sydd yn dysgu anfarwoldeb? A chaniatau fod anfarwoldeb y tri phatriarch yn cael ei ddysgu yn nghyhoeddiad Duw, pa fodd yr awgrymant adgyfodiad

eu cyrph? Paham y dewisodd Crist brawf mor anuniongyrchol o adgyfodiad, tra y gallasai gael cynifer o brawfion mwy uniongyrchol? A oes rhywbeth yn yr amgylchiadau cydfynedol â llefariad gwreiddiol y geiriau, ar wahan i'r geiriau eu hunain, sydd yn awgrymu parhad bodolaeth? A ydyw y geiriau hyn i'w hystyried yn brawf o anfarwoldeb ac adgyfodiad pawb?

Ymddengys i ni mai yr unig ffordd foddhaol i egluro y geiriau hyn, gan mai tra yn ymresymu a'r Saduceaid y llefarwyd hwy, ydyw, dadansoddi y gwahanol ranau sydd ynddynt, a thrwy hyny ganfod y rhesymeg gyfresymol a red drwyddynt. Gwir nad ydoedd Crist wrth eu llefaru yn bwriadu ffurfio ei frawddegau yn ol rheolau ymresymeg ddiweddar, ond y mae mor wir a hyny fod synwyr a pherthynas y brawddegau yn dyfod yn fwy gweladwy, os deonglir hwy yn ngoleuni y rheolau hyny. Yn mhob cyfresymiaeth (*syllogism*), dysgwylir gweled dwy gynsail ac un casgliad. Y mae dwy gynsail yn y testyn, sef,

"Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob," ac

"Nid yw Duw Dduw y rhai meirw, ond y rhai byw;" ac y mae yn y testyn hefyd gasgliad yn *ddealledig*, er nad ydyw yn ddatganedig, sef,

"O ganlyniad, nid ydyw Abraham, Isaac, a Jacob yn feirw."

Mewn cyfresymiaeth, ceir y frawddeg sydd yn cynwys y brif osodaeth (*major proposition*) bob amser yn mlaenaf, a'r frawddeg sydd yn cynwys yr osodaeth ailraddol (*minor proposition*) yn dylyn; ac felly y mae yma. Y brif osodaeth ydyw,

"Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob;" a'r osodaeth ail-raddol ydyw,

"Nid yw Duw Dduw y rhai meirw, ond y rhai byw."

Hawlia rheol arall fod y frawddeg gyntaf yn meddu ystyr derfynol, ond yr ail frawddeg yn meddu ystyr gyffredinol. Ceir yn y testyn ufudd-dod i'r angenrhaid hwn drachefn:

"Myfi yw Duw *Abraham*, a Duw *Isaac*, a Duw *Jacob*." Dyna y terfynol; yna yn dylyn y mae y cyffredinol, sef,

"Nid yw Duw Dduw y *rhai meirw*, ond y *rhai byw*."

Gwelir fod y gosodiad negyddol yn cyffredinoli yr adroddawd (*predicate*), ac felly yr ymresymiad yn profi anfarwoldeb eraill heblaw Abraham, Isaac, a Jacob. Yn olaf, cydymffurfir â rheolau cyfresymiaeth yn y testyn, yn y ffaith fod yr ail osodaeth yn negyddol:

"*Nid* ydyw Duw Dduw y rhai meirw," &c.; ac felly fod y casgliad (dealledig) yn negyddol hefyd.

Gellir gosod ymresymiad y testyn yn y ffurf arallol a ganlyn:

Y mae Duw yn Dduw i Abraham, Isaac, a Jacob. Nid ydyw Duw yn Dduw i'r rhai ydynt feirwon. *O ganlyniad*, nid ydyw Abraham, Isaac, a Jacob, yn feirwon. Sylwer yn fanylach drachefn, yn

I. AR Y BRIF OSODAETH. "Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob."

1. *Y mae yr amgylchiadau cydfynedol a llefariad y geiriau yn awgrymol.* "Y modd y llefarodd Duw wrtho yn y berth." Ar y pryd, yr oedd y genedl yn gruddfan dan galedi gorthrwm, a Moses, eu gwaredwr

dyfodol, yn bugeilio defaid Jethro, ar y gadwen fynyddig Sineaidd. Esgynodd y bugail i fynydd Duw, Horeb, ac ar ei ffordd tarawyd ei sylw gan olygfa ddyeithr a rhyfedd. Gwelai berth (yr *acacia* ddreiniog, cyffelyb i lwyni mwyar ein gwlad ni, gyda y gwahaniaeth pwysig hwn, fod hono yn fythwyrdd) yn llosgi, ac eto heb ei difa; yn yr hon hefyd y safai angel yr Arglwydd, mewn fflam dân. O ganol y berth hono, yn mysg pethau eraill, dywedodd Duw wrth Moses, "Myfi yw Duw dy dad, Duw Abraham, Duw Isaac, a Duw Jacob." Yn awr, y mae yn rhaid fod rhyw nodweddion yn perthyn i'r berth hono ag ydoedd yn gynorthwyol i argraffu y cyhoeddiad ar feddwl Moses; ac annichon o dan yr amgylchiadau, ydyw peidio cysylltu â hi ddwy nodwedd arwyddocaol. Yr oedd y berth, yn gyntaf, yn cael ei llosgi; ac yn ail, er cael ei llosgi, parhâi yn ei bythwyrddedd. Awgryma y nodwedd gyntaf sefyllfa y genedl ar y pryd, yn ffwrneisiau trallodion; ac awgryma yr ail nodwedd dynged ddyfodol y genedl, y buasai yn parhau, er angeu, yn anfarwol. Yr oedd y berth yn ddarlun cyfaddas o gyflwr presenol a sefyllfa ddyfodol pobl Dduw, a rhaid edrych ar ei llosgiad annifäol (gan nad i ba raddau y deallwyd hyny gan Moses) fel cyhoeddiad gwirioneddol o athrawiaeth bywyd tragywyddol. Y mae natur garedig yn cyflwyno lluaws o arwyddion o'r modd y gall y bywyd dynol ymddal, ac yn wir, ychwanegu grym a phrydferthwch, er cael ei ddarostwng i angeu. Y mae adgyfodiad gwanwynol natur o fedd y gauaf, yn cyfarch dychymyg prudd holl alarwyr yr oesau, ac yn arwyddocad o adgyfodiad bythwyrdd plentyn Duw.

2. *Y mae amseriad llefariad y geiriau yn bwysig.* Yr oedd Abraham, Isaac, a Jacob, ar yr adeg y llefarodd Duw y geiriau hyn, o ran eu cyrph, wedi llwyr falurio yn llwch y ddaear. Yr oedd rhwng pedwar a phum' cant o flynyddau wedi myned heibio er eu marwolaeth; ond yn mhen y canrifoedd yna, wele y Jehofah yn dywedyd, "Myfi *yw* Duw Abraham," &c. Nid, "Myfi a *fum* yn Dduw Abraham," &c., ac nid, "Myfi *oeddwn* Dduw Abraham," ond yn y modd mwyaf eglur dywed, "Myfi *yw* Duw Abraham, Duw Isaac, a Duw Jacob." Pa fodd y gallasent hwy barhau i'w wneyd ef yn wrthddrych eu haddoliad, nac yntau barhau i fod yn Noddwr iddynt, os ydoedd angeu wedi eu llwyr ddiddymu? Y mae amseryddiad y berthynas yn profi eu bod yn fyw yn rhywle, ac y mae yn eithaf eglur nad oeddynt yn fyw mewn un rhan o'r byd hwn; o ganlyniad rhaid eu bod yn fyw yn y byd arall. Os wedi meirw i ddynion, yr oeddynt yn fyw i Dduw, "Canys pawb sydd fyw iddo ef." (Luc xx. 38.) Y mae Duw yn gymaint o Dduw i Abraham heddyw ag y bu erioed, ac er cysur annhraethadwy i bob crediniwr, bydd hyn yn wirionedd am dano yntau yn oes oesoedd. Sylwer yn

II. Ar yr osodaeth ail-raddol. "Nid yw Duw Dduw y rhai meirw, ond y rhai byw." Y mae hyn yn cynwys yn

1. *Nad oes un cydrywiaeth natur rhwng y Duw byw a chyrph meirwon.* Tybia rhai esbonwyr fod yr enwau a roddir i'r patriarchiaid yma, sef Abraham, Isaac, a Jacob, yn eu golygu, nid fel ysbrydion anghorpholedig yn unig, ond yn cymeryd i fewn eu cyrph yn ogystal

a'u heneidiau, ac fod eu dwy ran yn perchenogi Duw. Ymddengys i ni, modd bynag, nid yn unig fod hyny yn anghyson â'r dywediad dan sylw, sef nad ydyw Duw yn Dduw y *meirw*, ond hefyd fod y fath dyb yn dwyn i sylw annichonolrwydd anianyddol a moesol. Pa fodd y gall y corph marw berchenogi y Duw byw? Y mae yn ynfydrwydd o'r mwyaf, ac yn wir, yn ddiraddiol i'r Duw mawr, i gredu fod yn bosibl iddo ef hawlio y fath berthynas â llwch pydredig. Nid ydyw efe yn Dduw i fater difywyd, i adfeilion angeu. Nis gall fod un gyfatebiaeth, un cydnawsedd, nac un berthynas rhwng ffynonell bywyd â phentwr annheimladwy o lwch. Y mae efe yn *Arglwydd* ar y meirw, ond nis gall ddal y berthynas agos ac anwahanedig o Dduw â neb ond â'r rhai hyn; ac nid ydyw hyn ychwaith yn dinystrio grym yr ymresymiad, eithr yn hytrach yn ei gadarnhau, oblegid os ydyw yr eneidiau yn fyw, a Duw yn Dduw iddynt, goblyga hyny yr ychwanegir cyrph byw at yr eneidiau byw; mewn gair arall, y bydd adgyfodiad. Yn wir, y mae y fath berthynas rhwng anfarwoldeb ysbryd ac adgyfodiad y corph, fel y mae profi y naill yn gyfystyr â phrofi y llall. Megys ag y mae tragywyddolrwydd Duw yn golygu tragywyddolrwydd enaid; felly y mae tragywyddolrwyddd enaid yn golygu adgyfodiad y corph. Mewn trefn i'r Duwdod arllwys ei ogoniant i gyrph, megys ag y gwna efe i eneidiau, y mae yn rhaid i'r cyrph ydynt yn feirwon ddyfod yn fyw, a chan ei fod wedi ymgyfamodi i wneyd hyny, y mae yr adgyfodiad yn dyfod ar unwaith yn un o ddygwyddiadau sicraf y dyfodol. Y mae yn cynwys, yn

2. *Nas gall unrhyw berthynas gyfamodol fodoli rhwng Duw a'r meirwon.* Fel Duw mewn cyfamod, "Nid yw Duw Dduw y rhai meirw." Y mae yn ngeiriau y Jehofah yn Horeb ragor nag adgoffhad fod Abraham, Isaac, a Jacob yn addolwyr o hono, y maent yn adgoffhad o'r ffaith bwysig arall, fod yr Arglwydd, drwy gyfamod, wedi ymrwymo bod yn Dduw iddynt. Cyfeiriant at y geiriau hyny a lefarodd yr Arglwydd wrth Abraham: "Cadarnhâf hefyd fy nghyfamod rhyngof â thi, ac a'th had ar dy ol di, trwy eu hoesoedd, yn gyfamod tragywyddol, i fod yn Dduw i ti, ac i'th had ar dy ol di." (Gen. xvii. 7.) Arweinid ni y tu draw i'n terfynau pe yr ymchwiliem i nifer ac ansawdd yr holl addewidion a gynwysai cyfamod Duw ag Abraham. Y mae un peth yn eglur, sef fod yr addewid hon yn unig (*bod yn Dduw iddo*) mor eang ac mor anhysbyddadwy fel nas gallasai berchenogi y filfed o honi yn ystod y bywyd daearol meithaf. Addawir iddo, nid cyfoeth, nid hirhoedledd, nid diogelwch, ond anfeidrol fwy, *Duw yn eiddo iddo*, a Duw yn eiddo iddo nid am amser penodol, ond yn etifeddiaeth dragywyddol. Ond pa faint bynag addawodd yr Arglwydd yn ei gyfamod, hunodd y patriarchiaid cyn derbyn cynwysiad yr addewidion. Bu Abraham, er engraifft, nid yn mwynhau, ond yn dysgwyl am ryw "ddinas ag iddi sylfaeni, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw." (Heb. xi. 10.) Nid oedd Caer Arba, Hebron, nac un ddinas arall yn cyfateb i'r ddinas addawedig iddo, am hyny ymgodai mewn dysgwyliad uwchlaw eu tyrau hwy am rywbeth amgenach. A theimlodd Duw fod ei anrhydedd fel plaid i'r cyfamod yn ei rwymo i ddarparu

dinas. Buasai ar yr Anfeidrol gywilydd byth arddel ei berthynas gyfamodol â'r patriarchiaid pe na buasai wedi trefnu i roddi iddynt y wlad well, yr hon oeddynt yn ei chwenych; ond yn awr, gan fod Duw wedi cyflawni ei ran ef o'r cyfamod, ac wedi parotoi dinas, "nid cywilydd ganddo ei alw yn Dduw iddynt hwy." Gwelir, felly, fod cyfansoddiad y cyfamod yn golygu bywyd byth-barhaol, ac oblegid hyny, "Nid ydyw Duw Dduw y rhai meirw, ond y rhai byw."

III. Y CASGLIAD. Os nad ydyw Duw yn Dduw y meirwon, nis gall y patriarchiaid fod yn feirwon.

Awgrymwyd ar y dechreu ei fod yn ymddangos yn ddyeithr i Grist ddewis prawf mor anuniongyrchol o anfarwoldeb, ac felly o adgyfodiad, a'r uchod, a hyny o herwydd fod eraill mwy uniongyrchol yn gyrhaeddadwy; ond wedi ystyriaeth, yr ydym yn teimlo fod yr awgrym yn cynwys y gamsyniaeth fwyaf, a hyny am y rheswm hwn, y buasai yn annichon hyd yn nod i Grist, drwy holl gorph yr Ysgrythyrau, gael prawf cadarnach na'r hwn a gynwysir yn y dyfyniad. Yn hytrach nag fod y prawf yn eiddilaidd ac anuniongyrchol, y mae y mwyaf cryf ac uniongyrchol dichonadwy, a hyny yn gymaint ag fod ei holl seiliau yn nghyfamod Duw. Y farn gyffredin ydyw, mai y rheswm i Grist ddyfynu o un o lyfrau Moses, wrth ymddadleu gyda'r Saduceaid, ydoedd, nid oblegid mai yno yr oedd yr athrawiaeth yn cael ei dysgu egluraf, ond oblegid fod y Saduceaid yn gwadu na lefarodd Moses air erioed o barthed i'r athrawiaeth, onide y buasent hwy yn ei chredu ar unwaith. Nid ydym yn gallu boddloni ein hunain am y swm o wirionedd sydd

yn y fath dybiaeth, ond yr ydym yn dra sicr o hyn, y buasai yn annichonadwy dyfynu o un ran o'r Hen Destament lle y gorphwys yr athrawiaeth o fywyd dyfodol ar seiliau cadarnach nag y gwna yn nghyhoeddiad Horeb, oblegid y peth cadarnaf yn ymerodraeth Duw ydyw y cyfamod, ac y mae athrawiaeth anfarwoldeb yn adranau hwnw. Gwir y gallasai Crist gyfeirio at awgrymau o adgyfodiad yn llyfr Genesis. Gallasai ofyn i'r Saduceaid: "Ai nid ydoedd addewid o Waredwr i Adda, wedi y condemniad i farw, yn awgrymu anfarwoldeb?" Gallasai ofyn: "Ai tebyg ydoedd y buasai Duw yn caniatau marwolaeth Abel ar ol derbyn ei aberth, oni buasai fod y farwolaeth hono yn ei drosglwyddo i well a dedwyddach sefyllfa?" A gallasai ofyn: "Os nad oes sefyllfa ddyfodol, pa fodd y mae deall ymadawiad Enoch fel ffafr ddwyfol?" Ond y mae rhanau eraill o'r gair yn dryfrith, nid o awgrymau, ond o gyhoeddiadau pendant. Dyma y wythien euraidd sydd yn llyfr Job, y cordeddiad melus yn anthemau caniedydd Israel, a'r lliw prydferth yn narlun ymadawiad Elias, fod byd i fyw ynddo ar ol hwn. Ond er mor eglur y dysgir yr athrawiaeth bwysig a chysurlawn hon yn y lleoedd yna a'u cyffelyb, disgynodd meddwl y Duw-ddyn, nid arnynt hwy, ond ar y fan hono, yn mhellderau yr Hen Destament, lle y gwelai ei seiliau yn nghyfamod disigl Duw. Bydded i anian suddo i ddifancoll, ac i'r cread ymollwng i ddiddymdra tragywyddol, beth bynag a ddygwydd i holl gylchoedd eraill bodolaeth, rhaid i blant Duw feddianu bywyd corphorol ac eneidiol, oblegid y mae hyny yn un o'r rhagorfreintiau addawedig iddynt yn nghyfam-

od Duw. Y cwestiwn holl-bwysig erbyn heddyw ydyw, nid, "A gyfodir y meirw?" ond, "A ydyw cyfamod Duw yn ddiogel?"

---

## YR YSBRYD AFLAN A'R SAITH YSBRYDION GWAETH.

"Pan fyddo un cryf arfog yn cadw ei neuadd, y mae yr hyn sydd ganddo mewn heddwch; ond pan ddel un cryfach nag ef arno, a'i orchfygu, efe a ddwg ymaith ei holl arfogaeth ef yn yr hon yr oedd yn ymddiried, ac a ran ei anrhaith ef. Y neb nid yw gyda mi, sydd yn fy erbyn: a'r neb nid yw yn casglu gyda mi, sydd yn gwasgaru. Pan el yr ysbryd aflan allan o ddyn, efe a rodia mewn lleoedd sychion, gan geisio gorphwysdra: a phryd na chaffo, efe a ddywed, Mi a ddychwelaf i'm ty o'r lle y daethum allan. A phan ddel, y mae yn ei gael wedi ei ysgubo a'i drefnu. Yna yr ä efe, ac y cymer ato saith ysbryd eraill gwaeth nag ef ei hun; a hwy a ânt i mewn, ac a arosant yno: a diwedd y dyn hwnw fydd gwaeth na'i ddechreuad."—Luc xi. 21-26.

Y gwirionedd mawr, parhaol a chanolog, yn y geiriau hyn ydyw, mai Cristionogaeth, a Christionogaeth yn unig, sydd yn meddu ar y gallu gofynol i fuddugoliaethu ar ddiafol yn nghalon dyn. Dyna y *gwirionedd canolog*, ond oddiamgylch i'r gwirionedd yna y mae amryw o wirioneddau eraill, yn arddyrchu arno, oddiar orielau y ddwy ddameg hyn. Nyni a gymerwn ein harwain yn raddol at y gwirionedd mawr a ddysgir gan y gwirioneddau sydd yn gylchoedd o amgylch iddo.

*Yn y cylch cyntaf, ar raddfa allanol y testyn, ceir cydnabyddiaeth o fodolaeth bersonol y diafol.* Yn

marn rhyw bobl, nid person ydyw y cydgorffoliad rhyfedd hwnw o ddrygioni a gwae a elwir yn *ddiafol*, ond *egwyddor ddrwg*. Haerant hwy fod gwreiddiau y ddeuawdaeth Feiblaidd—Duw a diafol, i lawr yn chwedloniaeth cenedloedd ofergoelus y dyddiau gynt, ac fod y fath athrawiaeth yn anmhosiblrwydd ymresymegol, heblaw bod yn anfri ar gymeriad Duw. Ond pa beth bynag a ddywed Undodaeth, cyhoedda y geiriau hyn fod ei uchelder Satanaidd yn bodoli. Ac y mae gwaith ein Harglwydd yn dysgu ei ddisgyblion i weddio "a gwared ni," nid "rhag y *drwg*," ond "rhag yr *un* drwg." (Gwel Cyf. Diwyg.) yn gydnabyddiaeth ddwyfol o fodolaeth bersonol yr archangel syrthiedig. Prawf digonol o'r ffaith fod y diafol mewn bod ydyw, ei fod wedi llwyddo i gael gan ddynion i geisio gwadu hyny.

Fel person, y mae iddo ddau enw yn y ddwy ddameg dan sylw, sef "cryf arfog," ac "ysbryd aflan." Y mae iddo luaws o enwau eraill. Efe ydyw "sarph" Genesis; "Belial" Deuteronomium; "ysbryd celwyddog" y Breninoedd cyntaf; "Beelzebub" Breninoedd yr ail; "Satan" llyfr Job; "ysbryd drwg" y Barnwyr; "Lucifer" Esaiah; "gelyn ddyn" y damegion; "tad y celwydd" a "lleiddiad dyn" Ioan; "tywysog llywodraeth yr awyr" Paul; "llew rhuadwy" Pedr; "duw y byd hwn" yn y Corinthiaid; "yr ysbryd sydd yr awrhon yn gweithio yn mhlant yr anufudd-dod" yn yr Ephesiaid; "Appolyon," "y ddraig goch fawr," ac "ysgorpion," yn y Datguddiad; "Abaddon" yr Hebreaid; "Ahriman" y Persiaid; "Pelo" y Polynesiaid; "Loki" yr Allmaenwyr; "El Harith" yr Arabiaid;

"Iblis" y Mahometaniaid; "Asmodeus" y Talmudiau, &c. &c. Y mae amlder ei enwau yn creu amheuaeth am nodwedd ei gymeriad.

*Yn yr ail gylch, cyflwynir y person hwn i'n sylw fel ty-ddaliwr.* Mewn lleoedd eraill, dangosir ef yn y cymeriad o gyhuddwr Duw wrth ddynion, a chyhuddwr dynion wrth Dduw. Cablai Dduw yn ei gefn wrth Efa, a chablai Job yn ei gefn wrth Dduw. Ca ddifyrwch wrth gario ystraeon rhwng nefoedd a daear. Mewn cysylltiad arall, sieryd Crist am dano fel *nithiwr.* Drwy gudd-gasgliad, gosodir Duw allan fel amaethwr mawr, wedi troi malldir y ddaear yn dir gwenith, a chodi grawn o hono o'r un natur a'r gronyn a hauwyd yn naear Calfaria. Rhyw ddiwrnod y mae y cnwd cyntaf wedi ei gludo i'r ysgubor, y mae wedi ei ddyrnu, ond heb ei nithio. Cafodd Satan ganiatad i fyned i'r ysgubor, a gosododd Pedr yn y gogr. Yr oedd plyg o us o amgylch i'r gwenithyn apostolaidd, ac yr oedd angen ei ddatrys a'i lanhau. Fel canlyniad, collwyd y gwadwr, y rhegwr, y Simon, drwy wifrau y rhidyll, a chariwyd ef ymaith gan wynt y brofedigaeth, ond arosodd y dewrddyn, y molianwr, y Pedr, ar ol, ac y mae wedi ei gasglu er's canoedd o flynyddau i'r heiniardai (*granaries*) tragywyddol. Oddiar safle arall yr edrych Pedr ar yr un drwg megys crwydryn aflonydd a drygionus, "yn rhodio oddiamgylch, gan geisio y neb a allo ei lyncu." Cynhyrfir ei holl fodolaeth gan wanc anniwall a greddfol i ysbeilio a llofruddio.

Yn y geiriau hyn, modd bynag, dewisa y Damegwr dwyfol osod Beelzebub allan fel ty-ddaliwr. Darlunir

ef yma yn myned *at* y ty, yn myned i *fewn* iddo, yn *aros* ynddo, ac yn cael ei *fwrw allan* o hono. Fel ty-ddaliwr, y mae y diafol yn draws-feddianwr. Gwir ei fod ef yn edrych arno ei hun, nid fel deiliad at ewyllys y sawl a ddymuna roddi rhybudd iddo ymadael, oblegid dywed, "Af a dychwelaf *i'm* ty," ond nid ydyw yn berchenog enaid yn unol ag unrhyw ddeddf na threfn. Nid ydyw wedi ei roddi iddo gan Dduw, nid ydyw wedi ei enill ganddo drwy lafur, nid ydyw erioed wedi talu gwerth cyfartal am dano; mewn gair, nid oes yr un weithred drosglwyddol yn nghoffrau uffern, daear, na nefoedd.

*Yn y trydydd cylch, yr hwn sydd agosach at ganolfan y testyn, dangosir nas gall dwy farn fodoli o barthed i'r dymunoldeb, os yn ddichonadwy, o gael rhywun digon galluog i anfon y trawsfeddianwr allan.* Nid yn unig nid ydyw yn talu ardreth i'r perchenog, ond rhagor, y mae yn lleihau gwerth marchnadol enaid; a gwaeth na hyny, y mae yn is-rentu (*sub-let*) ystafelloedd enaid i ddemoniaid eraill gwaeth nag ef ei hun. Lleihau gwerth y tai yr oedd y diafol yn Mhalestina. Gwneyd un yn ddall, yr ail yn fud, y trydydd yn fyddar, y pedwerydd yn lloerig, y pumed yn llesmeiriol, &c. Nid oes neb yn ddiogel o dan ei awdurdod. Y mae yn *dal* ar Job, yn *cyhuddo* Joshua, yn *nithio* Pedr, yn *cernodio* Paul, yn *dinystrio cnawd* y Corinthiad, yn *bwrw rhai i garchar* yn ol y Datguddiad, ie, yn *temtio* Arglwydd y bywyd. Nid ydyw yn ddiogel hyd yn nod i fochyn fod yn llety i gythreuliaid. Arweinia hwy, nid i'r farchnad, ond dros y dibyn i'r môr. Y drugaredd fwyaf y gall y ddaear gael gaf-

ael arni byth ydyw cael gafael ar rywun o rywle a all glirio ymaith yr ysbrydion aflan, a'u hegwyddorion, allan o derfynau y byd.

*Yn y pedwerydd cylch, dysgir fod dynion wedi, ac yn bod, a broffesant allu i anfon drygioni allan o'r byd.* Yr oedd y Phariseaid yn honi y gallu hwnw, a chydnabyddent fod yr un gallu yn meddiant y Gwaredwr, yn unig fod ei allu Ef yn ddeiliedig oddiwrth Beelzebub, hen dduw gwibed Ahaziah. Son am gabledd, nis gall dim fod yn fwy cableddus na'r ensyniad fod Arglwydd angelion mewn cyngrair ag arglwydd cythreuliaid! Darllener atebiad yr Iesu iddynt, a a cheir gweled ei fod mor wawdlym a cholynog, fel nad ydyw yn un syndod i gyrn ei ymresymeg anfeidrol beri i'r codenau gwynt Phariseaidd fyrstio allan, ac i ryw wraig yn y dyrfa waeddi yn uchel, "Gwyn fyd y groth a'th ddug di, a'r bronau a sugnaist." Y mae athronwyr a rhydd-feddylwyr yr oesau yn cydnabod bodolaeth drygioni yn y byd; a rhagor, yn proffesu gallu i'w ymlid ymaith. Y maent wedi nodi amryw gynlluniau. Ffordd Comte ydyw gwneyd cyd-gasgliad o holl athrylithwyr a dyngarwyr yr oesau, arwain y rhai a boenydir gan ddrygioni i'w presenoldeb i'w hedmygu a'u haddoli, a sicrha y bydd hyny yn ddigon i beri i'r ysbryd aflan ffoi allan o galon yr addolwr. Ffordd y rhesymolwr ydyw dodi yr efengyl o'r naill du, tynu haul datguddiad o ffurfafen y byd, gan olygu y ffoa yr ysbrydion gan danbeidrwydd goleuni canwyllau brwyn eu synwyrau hwy! "Os ydych am anfon drygioni allan o'r byd," ebai Stuart Mill, "gwnewch dda i'ch cyd-ddynion, bendithiwch eich hiliogaeth," &c. Dyna

ei grefydd ef; crefydd heb addoliad, heb ffydd, heb Dduw, heb ddim. Dywed Anffyddiaeth wrth y rhai a berchenogir gan egwyddorion uffern, "Ydych, yr ydych yn ddrwg, ond peidiwch wylo, y mae difodiant yn ymyl, ac yn fuan bydd clogarenau (*bubbles*) eich bodolaeth wedi ymchwalu ar draethellau damwain ddall. Y ffordd sydd gan Babyddiaeth ydyw, nid cydnabod yr unig Dduw a wnawd yn ddyn yn Bethlehem, ond gwneyd dyn arall yn dduw yn Rhufain! Ond er mor lluosoced y cyfundrefnau dynol, ac er mor fostfawr honiadau eu sefydlwyr, fel galluoedd i orchfygu drygioni, y maent wedi eu profi yn fethiant. Bu gwareiddiad, celfyddyd, masnach a gwleidyddiaeth yn ceisio rhaffu a dofi pechaduriaid, ond fel y truan yn mysg y beddau, yr oeddynt yn tori y cordeddau, ac yn dryllio y cadwynau fel edafedd gwlan. Felly y bydd cyflwr pechadur am byth oddigerth i rywun "cryfach na'r cryf arfog," yn ei drugaredd, ddyfod heibio.

*Yn y pumed cylch, ceir golwg ar y gwirionedd, mai yr Arglwydd Iesu yn unig sydd yn meddu ar y gallu gofynol i orchfygu cadernid y gelyn.* Y mae yn rhy gryf i unrhyw, a phob gallu dynol. Y mae yn un *cryf*, yn un cryf *arfog*, yn un cryf arfog yn ei *neuadd*, yn un cryf arfog yn ei neuadd, a'r *hyn sydd ganddo mewn heddwch.* Aeth saith o feibion Scefa, un diwrnod, i geisio gyru allan un ty-ddaliwr dieflig. Curasant wrth y drws, gwaeddasant wrth y ffenestr, darllenasant wys ei ddygyweiniad, ond atebwyd hwy gan y preswylydd, yn dra digynhwrf, "Yr Iesu yr wyf yn ei adnabod, a Phaul a adwaen, eithr pwy ydych chwi?" (Act. xix. 15.) Yn lle i'r saith orchfygu yr un, gorchfygodd yr un y

saith, "hyd oni ffoisant hwy allan o'r ty hwnw yn noethion ac yn archolledig." (Adn. 16.) Mor wahanol yr oedd yn y synagog. Mor gynted ag y dywedodd yr Iesu wrth un o'r tenantiaid, "Dos allan," atebodd yn y fan, "Mi a'th adwaen, pwy ydwyt, Sanct Duw." (Marc i. 24.) Y mae yn syndod fod y diafol yn gallu goddef ymhonwyr defodol ein dyddiau ni, y rhai a broffesant allu i ddadreibio eneidiau afiach. Nid oes dim yn debyg o fod yn fwy o fwrn ar gylla uffern na chlywed dyn marwol yn honi gallu i faddeu a thrugarhau! Nid oes ond Iesu Grist yn unig yn gallu dymchwel gorthrwm uffern. Fe all rhieni, yn eu pryder, wneyd llawer i wrteithio moesoldeb y plant, ond rhaid cael crefydd Iesu Grist i newid eu calonau. Rhaid cael cleddyf yr Arglwydd gyda phob Gedeon. Dichon eglwys Dduw, drwy yr ysgol Sul, y Feibl Gymdeithas, y Cymdeithasau Cenadol a Dirwestol, &c., wareiddio a sobreiddio dynion, ond nis gall unrhyw gyfundrefn allofyddol, nac un peirianwaith cymdeithasol, gynyrchu cymaint ag un dyn duwiol. Na, rhaid myned i gyfarfod a Christ yn bersonol, cymeryd gafael ynddo Ef, cyffwrdd ag ymyl ei wisg Ef, ei gofleidio Ef, glynu wrtho Ef, ei gusanu Ef, hyd nes y teimlir fod llanw anfeidrol ei fywyd a'i farw yn gorchuddio holl draeth bodolaeth.

Drwy y cylchoedd uchod, yr ydym wedi ein harwain at ganolfan y damegion, sef,

*Fod y waredigaeth a effeithia Crist yn un barhaol.* Gorwedd gogoniant ei waith Ef, a'i ragoriaeth ar eiddo y consurwyr crefyddol, yn y fan hon, fod y diwygiad a effeithia yn un llwyr, trwyadl, ac annirywiedig. Pan yr

enfyn Ef yr ysbryd aflan allan, ar yr un pryd gwna ei ddychweliad yn annichonadwy. Sylwer ar ddarluniad damegol yr Athraw o ddullwedd a methiant pob ymgais ddynol i alltudio drygioni o'r galon. Hysbysa yn gyntaf mai rhywbeth a wneir yn nghefn y diafol ydyw pob diwygiadol dynol. Rhaid i'r diafol fyned allan o'r ty cyn y gall y diwygiwr dynol fyned i fewn iddo, ond gall yr Iesu fyned i fewn i'r neuadd at y cryf arfog, ei orchfygu, dwyn ei arfogaeth, a rhanu ei anrhaith. Darlunir y diafol yn gadael y dyn am dymor, ac yn myned am dro, a chan nad oes ganddo gynyg i arddwriaeth nefol, i lysieuaeth rasol, i flodau a liliau, i lwyni gwyrddion a doldiroedd meillion, cymer ei daith i anial-leoedd di-ddwfr, i grasdiroedd caregog, ac i swn dylluanod ysgrechlyd. Paradwys sydd yn taro angel, ond anialwch sydd yn taro cythraul. Wedi iddo ef gefnu, daeth y glanhawyr Phariseaidd i fewn. Yr oedd yno le ofnadwy. Yr holl furiau a'r lloriau yn llawn budreddi, a thawch brwmstanaidd yn ymgodi o bob cyfeiriad. Er hyn, dechreuwyd ei lanhau. Taflwyd caneuon masweddol o'r cof, rhegfeydd oddiar y tafod, a hongianwyd darluniau ardderchog o Ffydd, Gobaith, a Chariad, ar y muriau. Cyfnewidiwyd holl ymddangosiad y ty. Rhyw ddiwrnod, oddiar derfynau yr anialwch, gwel yr hen breswylydd ef, a phenderfyna ddychwelyd yn ol. Wedi myned i mewn, synir ef gan y gwelliantau sydd wedi eu heffeithio. Y mae yr awyriad yn well, y dodrefn yn well, y darluniau yn well, mewn gair, y mae y preswyl wedi myned o dan y fath gyfnewidiad, fel y mae y diafol yn penderfynu ei droi o fod yn drigfan ddirgelaidd yn neuadd gyhoeddus, yn

meddu ar ystafelloedd gwahanol at ganu, dawnsio, a gloddesta. Gwahoddodd saith o gythreuliaid mwy cythreulig nag ef ei hunan yno i loddestwyl yr agoriad, ac yn fuan iawn, yr oedd golwg saith waeth ar yr adeilad nag a fu erioed o'r blaen. Beth y mae hyn yn ei ddangos? Darlun ydyw o ddyn, dan driniaethau dynol, wedi newid ei *fuchedd*, ond heb newid ei *galon*; o ddyn wedi ei addurno a *moesoldeb* oddiallan, heb fod ganddo *dduwioldeb oddifewn*. Darlun ydyw o'r dyn anffodus hwnw y credwyd fod troedigaeth wedi ei heffeithio ynddo. Cydnabyddai yr Arglwydd fel Pharaoh, proffesai edifeirwch fel Ahab, awyddai am ddiwygio fel Herod. Nid ydyw mwyach yn rhegwr, yn feddwyn, nac yn odinebwr. Yr oedd y diafol allan, ond nid oedd Crist i fewn, fel pan ddaeth y diafol yn ol, aeth y dyn yn saith mwy cableddus, meddw, ac anllad nag y bu erioed o'r blaen. Y mae yn berffaith mewn cythreuligrwydd, a'i enaid yn uffern symudol. Gwyddom am engreifftiau galarus ydynt yn arddangosion byw o anallu cyfundrefnau dynol i ddwyn oddiamgylch ddiwygiad parhaol. Ond mor wahanol ydyw crefydd wirioneddol; lle y cafodd hi saith o gythreuliaid, cliriodd hwy allan. Unwaith y tafla hi ddiafol allan, nis gall ddyfod byth yn ol. Erys y gallu mwy a'i taflodd allan, yn ddiogelwch tragywyddol rhag ei ddychweliad. Dywed Crist, drwy ei efengyl, wrth egwyddor uffern yn nghalon y pechadur, nid yn unig, "Tyred allan o hono," ond ychwanega, "ac na ddos mwy iddo ef."

## Y DEUDDEG AR ORSEDDFEYDD YN BARNU Y DEUDDEG LLWYTH.

"Ac yr eisteddwch ar orseddfeydd, yn barnu deuddeg llwyth Israel."—Luc xxii. 30.

Y mae adroddiad Matthew o'r hyn a lefarodd Crist ar y pryd hwn, ychydig yn helaethach, ond nid yn wahanol, i'r cronicliad gan Luc. Hysbysa Matthew mai yr hyn a ddywedodd y Gwaredwr ydoedd (yn ol fel y cyfieithir ef gan John Williams), "Yn wir, meddaf i chwi, yn yr adnewyddiad, pan seddir Mab y dyn ar ei orsedd ogoneddfawr, y cewch chwi, fy nghanlynwyr, eistedd ar ddeg a dwy orsedd, yn barnu dau a deg llwyth Israel." Wrth efrydu mynegiadau y ddau efengylwr yn nghyd, awgrymir i ni yr

YMHOLIADAU

canlynol: Pa beth a olygai Crist wrth yr adenedigaeth? Ai dylanwad ei fywyd daearol, neu effeithiau ei efengyl wedi ei esgyniad, neu ynte adnewyddiad y greadigaeth ar adeg ei ail-ymddangosiad? Pa beth yw natur yr awdurdod a'r urddas eithriadol a addawa Crist i'r deuddeg apostol ar adeg ei ogoneddiad? A oes rhyw berthynas reithyddol yn bodoli yn bresenol rhwng y deuddeg apostol ag eglwys Crist drwy holl ysbaid yr oruchwyliaeth efengylaidd?

Ffaith i sylwi arni, yn yr ymdrech i ddeongli y testyn, ydyw, y gellir gwneyd iddo gyfleu syniadau tra gwahanol, yn unig drwy gyfnewid lleoliad yr atalnodaeth. Ymddibyna ei ddeongliad, yn wir, nid yn gy-

maint ar gyfieithiad geiriau, na phwysleisiad brawddegau, ag ar safle un atalnod. Drwy osod y rhagwahannod ( , ) ar ol y gair *adenedigaeth*, "a'm canlynasoch i yn yr adenedigaeth," yr addewid ydyw: "Yn gymaint ag i chwi barhau yn ffyddlawn o'm plaid yn ystod tymor terfysglyd a phrofedigaethus sefydliad fy nheyrnas, pan ogoneddir fi, fel cydnabyddiaeth, gwneir chwithau yn gyfranogion o'm gogoniant." Yn ol yr atalnodiad hwn, y mae yr adenedigaeth yn cael ei chyfyngu i adeg sefydliad cyntaf teyrnas Dduw, ac felly, nis gall olygu effeithiau yr efengyl ar ddynion o'r esgyniad i ddydd y farn, nac ychwaith dylanwad puredigaethol yr ail-ddyfodiad ar y greadigaeth faterol. Y mae tair ystyriaeth yn ein harwain i gredu mai nid ar ol y gair adenedigaeth y dylai y rhagwahanod fod. (*a.*) Y mae yr awdurdodau uchelaf yn cyd-farnu mai ar ol y rhagenw personol "i,"—"a'm canlynasoch i," y dylid ei ddodi. (*b.*) Y mae galw sefydliad Cristionogaeth, a'i heffeithiau, yn ystod bywyd darostyngol Crist, yn *adenedigaeth*, yn swnio yn eithafol. Crea yr ymholiad, Pa beth a ad-anwyd ar raddeg eang (oblegid y mae y gair yn tybio chwyldroad eang a phwysig) yn y blynyddau hyny? Nis gall olygu adenedigaeth Crist, bydddai y fath ymadrodd yn wrthun, ac nis gall olygu adenedigaeth y deuddeg apostol, oblegid ad-anwyd pob gwir ddysgybl i Grist, fel hwythau; ond nid pawb a ad-anwyd ddaethant yn berchenogion gorseddau, ac yn farnwyr ar Israel. (*c.*) Y mae yr adenedigaeth hon, gan nad beth ydyw, yn gydamserol ag eisteddiad Crist ar orsedd ei ogoniant. "*Pan* eisteddo Crist ar orsedd ei ogoniant," &c. Y mae y sylweddoliad o honi yn cael

ei daflu yn mlaen i'r dyfodol uniongyrchol neu anuniongyrchol. Drwy osod y rhagwahannod ar ol y frawddeg "a'm canlynasoch i," gall y testyn feddu y naill neu y llall o'r ddau synwyr canlynol:

"Yr ydwyf fi yn myned i adael y ddaear, ac esgyn i fy ngorsedd yn y nefoedd. Pan gymer hyny le, bydd fy efengyl yn ei grym a'i hawdurdod yn *aileni* y cenedloedd, a byddwch chwithau, drwy eich swyddau a'ch athrawiaethau, yn ddyrchafedig fel safonau parhaus i'r holl Israel ysbrydol."

Neu,

"Yr ydwyf wedi dyfod i'r byd y waith hon yn ddirmygedig, er hyny, canlynasoch fi. Pan ddeuaf yr ail waith, yn adeg adnewyddiad y cread, byddaf yn eistedd ar fy ngorsedd ogoneddfawr; y pryd hwnw, yn wobr am eich ymlyniad wrthyf yn fy ngwarth, rhoddir i chwithau anrhydedd arbenig yn nghanol llwythau cadwedig Israel."

Y mae yn hollol eglur, felly, mai gorchwyl mawr yr esboniwr o'r addewid hon, ydyw, penderfynu nid yn unig pa beth ydyw y wobr sydd yn cael ei haddaw, ond hefyd ceisio cael allan pa bryd yr ydoedd i'w mwynhau; pa un ai yn y cyfwng rhwng yr esgyniad a'r farn, neu ynte o'r farn yn mlaen, dros yr oesau dirifedi. Ac y mae hwn yn orchwyl tra anhawdd. Y mae ymgynyg ato yn creu pryder. Y mae i'r ddau eglurhad uchod bleidwyr galluog ac anrhydeddus, y rhai ydynt wedi llafurio i drefnu eu hymresymiadau yn y dulliau mwyaf argyhoeddiadol, Nyni a osodwn ger bron y darllenydd eglurhad y ddau ddosbarth, yn eu hanfodion a'u prif ategion, ac yna dichon yr ymddengys y naill

iddo ef, fel y gwna i ninau, yn fwy dewisol na'r llall.

Dadleua y dosbarth blaenaf

1. *Mai priodol galw y cyfnewidiadau yr el y greadigaeth drwyddynt yn y dydd olaf yn adenedigaeth.* Gofynir pa beth yw *adenedigaeth*? Golyga adenedigaeth, yn ei pherthynas a pherson unigol, fod yr hyn sydd ysbrydol ynddo, trwy ddylanwad yr Ysbryd Glan, yn dyfod yn allu llywodraethol dros yr hyn sydd yn gnawdol a llygredig. Felly yr ymsynia y Parch. S. Cox, Nottingham, pan yn ysgrifenu ar adenedigaeth bersonol fel cynddelwad o adnewyddiad y greadigaeth. Darlunia y modd y mae yr ysbryd santaidd yn llywodraethu y cnawd llygredig, ac nid y cnawd llygredig yn llywodraethu yr ysbryd santaidd. Y dyn arferai fod yn awyddus am hunan-foddhad, am bleser, am elw, wedi llwyr gyfnewid yn nghyfeiriad ei awyddfryd, ac fel canlyniad, yn wastadol yn hiraethu am Dduw, am gymundeb gwastadol a Christ, ac am ymdebygoliad i'r Achubydd mawr. Y mae ei berthynas â phawb, ac a phob peth, wedi myned o dan gyfnewidiad. Bellach, y mae y greadigaeth iddo ef, nid yn beiriant anneallgar, ond yn ddatguddydd ewyllys Duw fel ei Dad mawr a thrugarog. Myfyria gwymp a chyfodiad teyrnasoedd, buddugoliaethau gwyddoniaeth a chelfyddyd, a phob cyfnewidiad cymdeithasol a gwleidyddol, nid er eu mwyn eu hunain, ond am y gwel ynddynt y Duw mawr, mewn modd araf ac anweledig, yn dwyn oddiamgylch ddysgyblaeth y teulu dynol, a gogoniant ei enw tragywyddol. Y mae y geni drachefn, yn ei gyflwyno i fyd newydd, lle y fflamia pob peth gan ddrychfeddyliau newyddion, ac y mae yntau yn gread-

ur newydd yn eu mysg. Y mae wedi ei drawsffurfio i gyfangorph o ysbrydolrwyd. Yn ol y darlun yna, dyna fydd adenedigaeth y cread, goruchafiaeth yr ysbrydol ar y materol. Pob peth yn y cread mawr wedi ei orlifo gan ysbrydolrwydd yr Hollalluog, ac er gwasanaethu cyrph adgyfodadwy y saint, wedi cwbl gyfnewid yn eu hanianawd. Y llewyrch anweledig yn ymdreiddio drwy y gweledig; y tragywyddol wedi llyncu i fyny yr amserol, a'r sylweddol a'r parhaol wedi cymeryd lle yr ymddangosiadol a'r amserol. Y pryd hwnw, fel yn awr, goleua heuliau, rhed afonydd, ymddengys mynyddoedd, ac ymleda gwastadeddau doldiroedd, ond bydd y cwbl wedi eu cwbl feddianu gan nwyfiant ysbrydolrwydd, ac yn dwyn delw anfarwoldeb. Credir fod gweledigaeth Ioan yn cynwys delweddiad o'r adenedigaeth hono. "Ac mi a glywais lef uchel allan o'r nef, yn dywedyd, Wele, y mae pabell Duw gyda dynion, ac efe a drig gyda hwynt, a hwy a fyddant bobl iddo ef, a Duw ei hun a fydd gyda hwynt, ac a fydd yn Dduw iddynt. Ac fe sych Duw ymaith bob deigr oddiwrth eu llygaid hwynt; a marwolaeth ni bydd mwyach, na thristwch, na llefain, na phoen ni bydd mwyach: oblegid y pethau cyntaf a aeth heibio. A dywedodd yr hwn oedd yn eistedd ar yr orseddfainc, Wele, yr wyf yn gwneuthur pob peth yn newydd." (Dat. xxi. 3–5.) Dadleua y dosbarth blaenaf, yn

2. *Fod y geiriau yn briodol fel desgrifiad o fywyd y nefoedd wedi adenedigaeth y greadigaeth.*

(*a*.) Bywyd fydd o dan lywodraeth uniongyrchol yr Arglwydd Iesu.

Y pryd hwnw bydd ar ei orsedd ogoneddfawr, ac yn llywodraethu yn y cymeriad anwylaf gan y miliynau gogoneddedig, Mab y dyn.

(*b.*) Bywyd fydd yn llawn o amrywiaeth.

Gwneir y dyrfa fawr i fyny o ddeuddeg llwyth, a'r deuddeg apostol, yn meddu urddas haeddianol a thywysogaidd, yn eu mysg. Megys ag y mae barnwr neu lywodraethwr yn uwch ac anrhydeddusach yn y byd hwn, na'r rhai a fernir ac a lywodraethir ganddynt, felly bydd y deuddeg, wedi ad-drefniad y cyfanfyd, yn y byd a ddaw, yn uwch na phawb yn mysg y mil-myrdd cadwedigion. Merchyg coleddwyr y dyb hon mewn dychymyg drwy ororau bythwyrdd, a thalaethau eangfawr paradwys, gan aros yn achlysurol dan dywysiad Pedr, Iago, Ioan, &c., i syllu ar ryfeddodau dwyfol rhanbarthau llwythau seliedig Juda, Reuben, Gad, Aser, Naphtali, Manasseh, &c.

Yn wahanol i'r dosbarth yna, dadleua yr ail ddosbarth fod y geiriau wedi eu bwriadu i ddysgu yn

1. *Pa beth ydyw natur y diwygiad ysbrydol y daeth Crist i'r byd i'w effeithio yn mysg dynion.* Mai dyna ydyw, *adenedigaeth* y ddynoliaeth. "Aeth y byd moesol i annhrefn a thrallod ar y dirywiad yn Eden, a'r adferiad oedd, ac ydyw, y nod mewn golwg yn ngoruchwyliaethau crefydd ddatguddiedig y nef. Creu o'r newydd, ail-eni, adnewyddu, &c., yw rhai o'r enwau sydd gan ysbrydoliaeth ar waith achubol a sancteiddiol yr efengyl ar y ddaear. Ail-newyddu, adffurfio, ailnewid dyn yn fewnol ac yn allanol yw ei chomisiwn." (Areithfa Mathetes, tu dal. 239.)

Fod y geiriau yn dysgu yn

2. *Yn mha gyfnod y derbyniodd y gyfundrefn fawr adferiadol hon ei hawdurdodiad a'i chadarnhad cyhoeddus.* "Pan eisteddo Mab y dyn ar orsedd ei ogoniant." "Y mae y cyfnod y cyfeirir ato, yn yr ymadrodd, 'Pan eisteddo,' &c., yn ymddangos i ni yn cyfeirio yn ddiamheuol at ei esgyniad Ef i'r nefoedd pan y gwisgwyd Ef ag awdurdod, a phan, mewn canlyniad i oruchwyliaeth ei Ysbryd ar ddydd y Pentecost, y derbyniodd yr adenedigaeth symbyliad ag oedd i enill grym a dylanwad newydd o'r foment hono hyd yr awr olaf." ("The Genius of the Gospel," Dr. Thomas, tu dal. 506.) "Y mae yr adenedigaeth, neu yr adnewyddiad sydd yn yr adnod hon, yn gydamserol ag eisteddiad Mab y dyn ar orsedd ei ogoniant, ac yn cyfeirio at ei esgyniad i'r nefoedd, a'r cyfnewidiad goruchwyliaethol a gymerodd le pan wnaethpwyd pob peth o'r newydd." (Esboniad R. Ellis (*Cynddelw*) ar yr adnod.) "Gorphenwyd y gyfundrefn ar Galfaria, cadarnhawyd ei dwyfoliaeth yn yr adgyfodiad a'r esgyniad, ac ar ddydd y Penecost esboniwyd *charter* y deyrnas gan Pedr. Ar y dydd dywededig, y claddwyd syniadau Iuddewig yr apostolion, ac y deallasant yn hollol, ysbrydolrwydd teyrnas y Messiah. Buasai Crist am hir amser yn adeiladu y deml Gristionogol. Dydd y Pentecost oedd diwrnod mawr 'yr agoriad'; a Phedr oedd prif, ac efallai unig, bregethwr y cyfarfod. * * * Er gwneyd cyfraith, ei chymeradwyo gan Dy y Cyffredin, a Thy yr Arglwyddi, nid ydyw yn ddeddf gydnabyddedig cyn cael ei harwyddnodi gan y Frenines. Ar ddiwrnod bythgofiadwy y Pentecost, arwyddwyd Breinlen yr Adnewyddiad gan Frenin Mawr y Deyrnas. * * * Y mae

y llwyddiant mawr sydd yn cael ei gofnodi yn Actau yr Apostolion, yn profi fod cyfnod newydd wedi dechreu yn ngweinyddiad y gyfundrefn, a bod rhyw werth uwch nag arferol yn gweithredu. Dyma y rheswm fod mwy o lwyddiant ar weinidogaeth yr apostolion nag ar weinidogaeth bersonol Iesu Grist." (Areithfa Mathetes, tu dal. 240, &c.)

Fod y geiriau yn dysgu, yn

3. *Pwy ydynt ddeddf-roddwyr a deddf-weinwyr teyrnas yr efengyl.* "Eisteddwch chwithau hefyd ar ddeuddeg gorsedd," &c.

"Y mae yr addewid a wneir yma i'r disgyblion i 'eistedd ar ddeuddeg gorsedd,' yn cynwys drychfeddwl Cristionogol ac ysbrydol, wedi ei ddilladu a gwisg faterol ac Iuddewig. Megys ag yr oedd y deuddeg llwyth yn cymeryd i fewn yr holl Iuddewon, felly y mae yr ymadrodd a ddefnyddir yma yn cymeryd i fewn yr holl Gristionogion. Y mae Iago yn ei epistol yn ei ddefnyddio yn y synwyr yma, ac y mae y 'deuddeg gorsedd,' yn eglur yn golygu, y rhoddid i bob un o'r apostolion awdurdod lywodraethol yn yr eglwys." ("The Genius of the Gospel.") Wrth ysgrifenu ar yr un mater, dywed Cynddelw, "Y mae deuddeg llwyth Israel yn golygu pobl Dduw Israel yn ol yr ysbryd. (Ioan i. 47; Rhuf. ii. 28, 29; ix. 68; Phil. iii. 3; Iago i. 1; Dat. ii. 9.) Sonir am yr apostolion fel rhai yn derbyn teyrnas. (Luc xii. 32; xxii. 28–30. Cafodd cenedl Israel eu cyfiawnhau neu eu collfarnu yn ol eu hymddygiad at weinidogaeth y deuddeg apostol." (Rhuf. xi.) "Yr apostolion eu hunain," ychwanega Mathetes, "yn cael eu cynorthwyo gan eraill, a arweinient y saint

yn mlynyddoedd cyntaf Cristionogaeth, ond ysgrifau y blaenoriaid hyny, sef y Testament Newydd, sydd i'n dysgu ni pa beth i gredu, a pha fodd i ymddwyn, fel y dengys Paul yn Ephes. iv. 11–14."

Bellach, wele y ddwy olygddysg ger bron. Y mae yn y naill, fel y llall, wirioneddau cysurlawn, ond nis gall y ddwy gael eu hystyried yn cynrychioli meddwl Crist. Ymddengys i ni mai yr olaf ydyw yr helaethiad cywiraf o feddwl Crist. Gogwyddir ni at hyny gan yr ystyriaethau canlynol:

(*a.*) *Dengys y cysylltiadau fod y gwahaniaeth mawr rhwng ei sefyllfa ar y pryd, a'i sefyllfa ddyfodol, yn meddianu meddwl y Duw-ddyn pan yn llefaru.* Gwerthfawrogai y ffyddlondeb hwnw a ymlynasai wrtho tra yn ei brofedigaethau (adn. 28), a naturiol iddo, mewn gwrthgyferbyniaeth, ydoedd edrych ar ei esgyniad a'i ogoneddiad, fel y cyfnewidiadau mawrion oeddynt i'w trosglwyddo i amgylchiadau gwahanol.

(*b.*) *Y mae yn wirionedd eglur a chydnabyddedig fod mwy o berthynas rhwng y deuddeg apostol a goruchwyliaeth yr efengyl, nag sydd rhyngddynt ag adnewyddiad olaf anian.* Mor bell ag y rhoddir ar ddeall i ni, ni fydd i chwyldroadau y farn ychwanegu dim at eu hawdurdod a'u hurddas. Yn wir, pan fyddo Duw oll yn oll, a goruchwyliaeth tragywyddoldeb wedi dechreu, y mae yn amheus genyf na fyddant hwythau, fel y Mab, yn rhoddi eu swyddedigaethau i fyny. Hyd hyny, beth bynag, hwy ydynt, ac a fyddant, yn brif oleuadau cysawd gogoneddus y grefydd Gristionogol.

(*c.*) *Y mae yr apostolion yn bresenol, mewn modd gwirioneddol, yn eistedd ar orseddau eglwys Dduw.*

Medda eu hareithiau, eu hysgrifeniadau, a'u dyfarniadau, awdurdod anamheuadwy a therfynol. Y mae eu geiriau yn ddeddfau gan holl ganlynwyr Crist. Hwynthwy ydyw y deddf-roddwyr uchelaf anwyd erioed, ac y mae deiliaid eu hymerodraeth fawr yn lluosogi bob dydd.

---

## Y NEF YN AGORED, A'R ANGELION YN DISGYN.

"Ac efe a ddywedodd wrtho, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Ar ol hyn y gwelwch y nef yn agored, ac angelion Duw yn esgyn ac yn disgyn ar Fab y dyn."—IOAN i. 51.

"And he saith unto him, Verily, verily, I say unto you, Ye shall see the heaven opened, and the angels of God ascending and descending upon the Son of man."—*Cyfieithiad Diwygiedig.*

Y mae y geiriau dyeithr hyn yn cynyrchu dau

YMHOLIAD,

sef, A oedd Iesu Grist drwyddynt, yn rhagddweyd am ryw gyfnod, neu gyfnodau neillduol, ar ba rai y buasai y nef yn agored, ac angelion Duw yn esgyn ac yn disgyn? A fwriadai Iesu Grist gyfleu y syniad y buasai llygaid naturiol Nathanael yn canfod y cyfryw weledigaethau, neu ynte a oedd yr addewid i'w chyflawni mewn modd ysbrydol?

Nid ydyw y geiriau eu hunain yn nodi allan y pryd, neu y prydiau y buasai y nef yn agored, a'r angelion yn esgyn ac yn disgyn; yr unig gyfarwyddyd a geir ynddynt gyda golwg ar hyny, ydyw y tri gair anmhen-

odol, "ar ol hyn." Ond fel y gwelir uchod, y mae y Cyfieithiad Diwygiedig yn gadael y darn yna o'r ymadrodd allan, a hyny oblegid nad ymddengys yn y llawysgrifau mwyaf henafol ac awdurdodedig. Pa un bynag a ddylai yr "ar ol hyn" fod i fewn yn y testyn neu beidio, nid ydyw hyny yn neillduoli dim ar amseryddiaeth yr olygfa; yn y naill achos, fel y llall, yr oedd i gymeryd lle yn y dyfodol uniongyrchol, neu anuniongyrchol.

Oblegid fod yr amlygfa i'w harddangos yn y dyfodol, y mae dynion, yn naturiol iawn, wedi bod yn chwilio am y cyfnod, neu y cyfnodau, ar ba rai y gwelwyd y cydgyfarfyddiad rhyfedd hwn o bersonau ac amgylchiadau, sef y nefoedd yn agored, a Nathanael a'i frodyr yn edrychwyr, Mab y dyn yn gyfagos, ac angelion Duw yn esgyn ac yn disgyn arno. Gan fod y cwbl a addewir yn gyfamserol, ac yn gyfunedig, nid digon fyddai, er cyflawniad yr addewid, fod y nefoedd yn agored, oddigerth fod y dysgyblion ar y pryd yn ei gweled; ac nid digon fyddai fod angelion yn esgyn ac yn disgyn ar Fab y dyn, oddieithr fod yr esgyniad a'r disgyniad yn weladwy i'w ganlynwyr. Yn gweled yr angenrheidrwydd hwn, y mae dosbarth o esbonwyr yn chwilio, ond yn ofer, am amgylchiadau yn ystod bywyd daearol y Gwaredwr, ag ydynt yn cynwys cyflawniad llythyrenol o holl adranau yr addewid. Cyfeirir yn neillduol at Gethsemane (Luc xxii. 43), at ardd Joseph (Ioan xx. 12), ac at fynydd yr Olewydd (Actau i. 10). Nid ydym yn amheu ymddangosiad na gweinidogaeth angelion i Grist yn nghysgodion coedydd Gethsemane, Arimathea, a'r Olewydd, ond yn sicr nid ydyw yr addewid

yn derbyn cyflawniad llythyrenol yn yr amgylchiadau hyny. Yn ngardd y dagrau, y mae gwasanaeth yr angel yn wasanaeth anweledig. Yn ngardd y fuddugoliaeth, ymddengys y ddau angel, nid i'r dysgyblion, ond i'r gwragedd, ac iddynt hwythau, nid yn esgyn ac yn disgyn ar Fab y dyn, ond yn *eistedd* ar y maen. Ar fynydd yr esgyniad, daeth y ddau wr mewn dillad gwynion i hysbysu yr ail-ddyfodiad, nid pan oedd Crist a'r dysgyblion yn nghyd, ond pan oedd yr Athraw rhywle yn ngodreuon y cymylau,—beth bynag ar ei daith drwy y nwyfre tua'r drysau tragywyddol. Nid ydyw y cyflawniad i'w gael yn yr adegau yna.

Drachefn, y mae yr anghyfatebiaeth eglur sydd rhwng yr hyn a ddywedir am berthynas yr angelion a Christ yn y testyn, a'r hyn a ddywedir am berthynas angelaidd a Christ yn nydd y farn, yn peri nas gall y naill fod, fel yr haera rhai, yn gyflawniad o'r llall. Y mae yn sicr y bydd y nefoedd yn agored y pryd hwnw; symudir adeiladau y bydoedd o'r neilldu, er gollwng yr orsedd wen fawr i lawr i olwg y cread dychrynedig; a sicr hefyd y bydd y gwarchluoedd angelaidd yn dorf ddirif o amgylch y Barnwr; ac ni edy y Beibl le i amheuaeth na fydd perthynas yr osgorddlu angelaidd â Christ, yn eglur i'r miliwnau ymgynulledig, ond wed'yn, bydd yr olygfa hono yn cael ei chanfod gan annuwiolion yn ogystal a duwiolion, tra y mae golygfa y testyn, gan nad beth ydyw, yn cael ei haddaw yn unig i'r rhai, fel Nathanael, a welent yn y Crist ymgnawdoledig, Fab Duw, a Brenin Israel. Syniadau datganedig Nathanael dynodd allan o Grist yr addewid am yr arddangosfa ardderchog hon, ac y mae yn eglur oddi-

wrth eiriadaeth y testyn, sef, "y *gwelwch* y nef yn agored," fod mynediad iddi, a mwynhad o honi, yn cael ei addaw, nid yn unig i Nathanael, ond hefyd i bawb eraill o gymeriad cyffelyb.

Gan na olygai Crist, a chan na chafodd y dysgyblion, gyda llygaid o gnawd, weled un ymraniad yn llawrleni y wybrenau, na gweled angelion yn esgyn ac yn disgyn ar Fab y dyn, nis gall dim fod yn fwy eglur nag fod Crist yma, wrth addaw bendith ysbrydol, yn cyfeirio at gyfryngau a fuont yn cael eu defnyddio unwaith i drosglwyddo bendith ragluniaethol. Peth holl gyffredin yn ngweinidogaeth yr Arglwydd Iesu Grist ydoedd gwneyd defnydd o'r rhagorfreintiau gwladol a chrefyddol a fwynhawyd gan genedl Israel, a chan bersonau enwog perthynol iddi o dan yr hen gyfamod, er egluro i'r meddwl Iuddewig y rhagorfreintiau uwch ac ysbrydol sydd i'w mwynhau gan ddeiliaid y cyfamod newydd. Yn fynych rhoddir diwyg naturiol am fendith ysbrydol. Y mae enwau Iuddewig ar fendithion goreu Cristionogaeth, megys aberth, gwaed, cyfamod, &c., a'u hesboniad ar addewidion y Testament Newydd yn fynych i'w gael yn hanesiaeth yr Hen Destament. Darllener unrhyw ran o'r efengylau, neu yr epistolau, a daw hyn yn eithaf amlwg. Rhywbeth felly sydd yn y testyn hwn. Genesis yn esbonio Ioan, Bethel yn taflu goleu ar filiwnau o addoliadau, Jacob yn mherlewig y weledigaeth yn rhagddangos dedwyddwch mwy ac uwch pob Nathanael holl oesau y ddaear.

Gan fod Nathanael yn fyfyriwr mor aiddgar o ysgrifeniadau Moses, pan soniodd Crist wrtho am "angelion

Duw yn esgyn ac yn disgyn," rhaid fod y geiriau wedi fflachio meddyliau cysurlawn i'w enaid. Arweiniodd ei feddwl yn unionsyth at amgylchiad mawr nad ä byth yn anghof. Cludodd ef dros y canrifoedd, gan ei osod i lawr yn nghyfeiriad Haran, y tu allan i Beerseba, lle y mae yn sylweddoli un o brif olygfeydd yr oesau. Etifedd teulu galluog wedi ffarwelio a'i riaint oedranus, ac o herwydd ofn brawd digofus, yn ymadael a thy ei dad. Gwelai ef yn dechreu taith o bedwar cant a haner o filldiroedd, yn unig, ac ar ei draed. Yn y dydd pwysai meini o feddyliau oerion ar ei galon; yn y nos gosodai ei ben lluddedig i gysgu ar feini o geryg caledion. Ond yn yr unigrwydd a'r cyfyngder yna, gwelodd Duw gyfleustra, yn ngweledigaeth yr ysgol, i'w ddysgu, nid yn unig fod yr hen gyfamod a wnaethpwyd ag Abraham yn parhau (Gen. xxviii. 13), ond rhagor, na chawsai fod angen amddiffyn arno mewn anialwch; na chawsai fod yn ddigymdeithas er yn unig, ac nad oedd raid iddo anobeithio er lluosoced yr anhawsderau, oblegid y gallasai ei Dduw, unrhyw amser, drwy gyfryngau angelaidd, ddisgyn ato a'i waredu. Yn ngrym y weledigaeth a'r geiriau cysurlawn a lefarodd yr Arglwydd oddiar ffon uchaf yr ysgol, cyfododd Jacob i'w daith gyda chalon ysgafn a meddwl gobeithiol.

"Nathanael," megys pe dywedasai yr Iesu, "un tebyg iawn i Jacob ydwyt ti. Yr ydwyt yn fy adgofio mewn modd nodedig am dano. Ar ol ei fuddugoliaeth yn Peniel, galwyd ef yn *Israel*, ac ar ol dy fuddugoliaeth dithau heddyw yn Bethsaida, gan dy fod mor debyg iddo, myfi a'th alwaf dithau hefyd yn *Israel.* Ac yn dy achos di, yn wahanol, ac yn amgenach, gallaf

ychwanegu, 'Israeliad *yn wir, yn yr hwn nid oes dwyll.'* Jacob wedi ei adgynyrchu ydwyt ti, yn unig fod yr ail-argraffiad yn rhydd oddiwrth y gwallau oedd yn anurddo yr argraffiad cyntaf. A chan mai Jacob ydwyt, fel Jacob gynt, ti gei dithau, a holl Jacobiaid yr oesau ar dy ol, weled yn fy ngweinidogaeth, yn fy ngwyrthiau, yn fy marw, yn fy adgyfodiad, ac yn fy esgyniad, fod y nefoedd a gauwyd gan bechod yr Adda cyntaf, wedi ei hagor drachefn gan yr ail Adda; fod y cyfamod tragywyddol o dan yr efengyl i barhau yn ansigledig; fod modd, drwy ysgol fy nghyfryngdod, i deulu trallodedig y ddaear glywed fy Nhad yn siarad wrthynt o'r uchelder, ac fod angelion yn gwasanaethu derbynwyr fy iachawdwriaeth yn holl gyfyngderau bywyd ac angeu."

Y meddwl ydyw, y buasai i lygad ffydd, wedi ei oleuo a'r Ysbryd Glan, weled fod tramwyfa reolaidd wedi ei hagor a'i sefydlu rhwng nefoedd a daear. Gweled y warchaeaeth yn cael ei chyfodi oddiar longbyrth y nef; gweled y bolltau a osodasid gan gyfiawnder ar y breswylfa lonydd yn cael eu tynu yn ol; ie, gweled trafnidiaeth ysbrydol yn cael ei dwyn yn mlaen rhwng y ddwy wlad. O'r blaen, yr oedd uffern wedi ei hagor, a'r nefoedd wedi ei chau; ond yn awr, y mae uffern wedi ei chau, a'r nefoedd wedi ei hagor. Y mae mor agored erbyn hyn, fel y gellir, gyda Stephan, ei gweled drwy gawod o geryg. Mewn gwirionedd, y mae nefoedd a daear, yn nghyfryngdod Crist, wedi dyfod yn un byd, yn lle dau. Adroddir gan Liddell, yn Hanes Rhufain, am uniad Athen fawr â Piraeus fechan, drwy furiau mawrion ac uchel Per-

icles. Adeiladwyd y muriau yr holl ffordd o'r brifddinas i'r llongborth, ar y dde ac ar yr aswy, yn bedwar ugain troedfedd o uchder, fel yr aeth Athen a Piraeus yn un. Y mae nefoedd fawr Duw, hefyd, a daear fechan dyn, bellach wedi eu tragywyddol gysylltu a'u gilydd, a "ffordd newydd a bywiol" wedi ei hagor gan Grist i'r naill a'r llall. Pwy bynag a ymostynga ar ei liniau, gan edrych i fyny, gall weled pen uchaf yr ysgol yn gorphwys ar orseddfainc Duw a'r Oen.

---

## EI FRODYR EF.

"Canys nid oedd ei frodyr yn credu ynddo."—IOAN vii. 5.

Y mae yr adnod hon yn gwthio

### YMHOLIADAU

i sylw ag sydd wedi dyhysbyddu gallu ac amynedd llawer o ymchwilwyr galluog. Yr ymholiadau hyny, yn mysg eraill, ydynt a ganlyn: Yn mha ystyr yr oedd yr anghredinwyr hyn yn *frodyr* i'r Arglwydd Iesu? A ydyw y gair brodyr yn y cysylltiad hwn yn golygu rhyw berthynas amgen y frodoriaeth hono a olyga y gair mewn cysylltiadau eraill? A oes seiliau i'r grediniaeth mai meibion oeddynt i Mair ac Alpheus, ac a ydyw y berthynas dybiedig hono â Mair ac Alpheus yn eu gwneyd yn gefnderwyr yr Arglwydd Iesu? Neu ynte, a ydyw yn debygol, gan mai y gair a arferir i'w dynodi ydyw *brodyr*, fod gan Joseph blant drwy briodas flaenorol, ac mai y rhai hyny ydynt y brodyr a

grybwyllir yma? Ai yr un rhai ydyw yr Iago, Joses, Simon a Judas (Mat. xiii. 55), a adnabyddir fel brodyr yr Arglwydd Iesu, a'r Iago, Judas a Simon (Mat. x. 3, 4, a ymddangosant yn rhestr yr apostolion etholedig? Y mae tri o frodyr yr Arglwydd Iesu, a thri o'r apostolion yn dwyn yr un enwau, fel y gwelir isod:

| Y BRODYR. | YR APOSTOLION. |
|---|---|
| Iago, | Iago, mab Alpheus. |
| Joses, | |
| Simon, | Simon, y Canaanead. |
| Judas, | Judas, brawd Iago. (Gwel Luc vi. 16.) |

A'r cwestiwn ydyw, Ai yr un personau ydynt? Os mai brodyr naturiol yr Arglwydd Iesu oeddynt yr anghredinwyr hyn, a ydyw hyny yn milwrio mewn unrhyw fodd yn erbyn y syniad o anrhydedd eithriadol Mair?

Yn yr ymchwiliad am atebion boddhaol i'r ymholiadau uchod, yr ydym yn dyfod i ddeall fod awdurdodau uchelaf y canrifoedd, y rhai a berthynent i'r eglwysi Groegaidd a Lladinaidd gynt, ac a berthynant i'r eglwysi Protestanaidd yn awr, yn coleddu a chyhoeddi syniadau gwahanol. Nid yn unig y maent yn gwahaniaethu ar y prif gwestiwn, sef yn mha ystyr yr oedd y rhai hyn yn *frodyr* yr Arglwydd Iesu, ond y mae y prawfion a ddygant yn mlaen dros eu syniadau yn cynwys dyfyniadau mor wasgaredig, traddodiadau eglwysig mor ansicr, a beirniadaethau mor dywyllion, fel mai gorchwyl cyntaf yr ymchwilydd ydyw ceisio gwneyd trefn ar dryblith eu damcanion hwy, syml-

eiddio i'w feddwl yr hyn a ddysgant, ac ymholi pa un a allasai cysylltiadau eglwysig y naill neu y llall beri eu bod, yn anymwybyddol iddynt eu hunain, yn syrthio i wasanaethu Cyffes Ffydd, yn hytrach na gwasanaethu achos mawr iawn-ddeongliad Gair Duw. Y mae yn wirionedd diamheuol, beth bynag, fod holl ysgolheigion yr Eglwys Ladinaidd, o Jerome i lawr hyd y dydd hwn, yn dadleu mae meibion Mair ac Alpheus oedd y brodyr hyn; ac yn gysylltiedig a'r ddadleuaeth hono, yn ymresymu morwyndod parhaol Mair y Forwyn. Nid ydyw yn anhawdd gweled pa fodd y mae yr ofergoeledd o forwyndod annhoredig yn gwasanaethu fel rhan o'r cynllun i dduweiddio Mair, ac felly yn arwain i'w haddoliad, oblegid os na anwyd o honi ond y Gwaredwr yn unig, yr hwn hefyd a anwyd mewn modd goruwchnaturiol, yna y mae y dystawrwydd Beiblaidd am blant eraill yn cefnogi yr athrawiaeth Babaidd o forwyndod parhaol. Anhawdd, felly, ydyw i esbonwyr yr Eglwys Babaidd ddyfod a meddwl diragfarn i'r ymchwiliad hwn; ac anhawdd hefyd i esbonwyr eraill ydyw cymeryd cwrs ddeongliadol gwahanol i'r un a linellwyd gan eu dysgeidiaeth hwy, yr hyn sydd yn cyfrif, fe ddichon, am yr ymgais i brofi mai haner brodyr ein Harglwydd oeddynt, sef eu bod yn feibion Joseph drwy briodas flaenorol, yr hyn hefyd sydd yn osgoi y frodoriaeth naturiol.

Amcanwn wneyd tri gosodiad, dau nacaol, ac un cadarnhaol, o barthed i berthynasaeth y personau hyn; y ddau gyntaf yn dangos afresymoldeb dysgeidiaeth yr eglwysi Dwyreiniol a Gorllewinol, a'r olaf yn dangos rhesymoldeb y farn mai brodyr naturiol y Gwaredwr

sydd yn cael eu crybwyll yma. Yr ydym yn dadleu yn

I. MAI NID MEIBION JOSEPH DRWY BRIODAS FLAENOROL OEDDYNT.

Gelwir y golygiad a ddysga hyny yr un Epiphanaidd, oblegid i Epiphannis ei amddiffyn gyda dyfalbarhad a gallu nodedig; ac yn ddiweddar y mae yr un olygddysg wedi cael amddiffynydd dysgedig a selog yn y wlad hon yn mherson y Proffeswr Lightfoot. (Epis. Gal. Diss. ii.) Ond sylwer ar a ganlyn:

(*a.*) *Nid oes yr un gair yn cael ei ddweyd yn y Testament Newydd am briodas flaenorol Joseph.* Y mae yn gwbl amddifad o gadarnhad ysgrythyrol, ac y mae hyn ynddo ei hun yn ystyriaeth bwysig. Ac heblaw hyny, y mae Epiphannis ei hun yn cydnabod fod y fath dybiaeth yn cynwys fod Joseph "dros bedwar ugain oed" pan briododd â Mair, tra y mae y Beibl yn rhoddi ar ddeall, nid ei fod yn hen wr diffrwyth, ond yn ddyn o gyfryw oedran ag yr oedd yn weddus iddo fyned drwy holl ddefion priodasol y genedl, sef dyweddïad, &c., (Mat. i. 18–20, 24, 25; Luc ii. 7), ac yr oedd yn gwbl alluog hefyd i gyflawni holl ofynion yr ystad briodasol. Y mae sylfaen yr olyg-ddysg hon, nid yn y Beibl, ond megys y dangosir gan un o'i chefnogwyr boreuaf (Orig. in Mat. xiii. 55) yn llyfrau anghanonaidd yr Apocrypha.

(*b.*) *Nis gallasai yr Arglwydd Iesu fod yn etifedd i Joseph os nad efe ydoedd ei fab henaf.* Yn Israel, y cyntaf-anedig ydoedd yr etifedd, ac os oedd gan Joseph blant henach na'r Arglwydd Iesu, yna, nid ein Harglwydd ydoedd etifedd Joseph, ac os nad ydoedd yn etifedd iddo, nid oedd ganddo ychwaith hawl i or-

sedd Israel. Gwelir felly fod tybygiad Epiphannis yn anwireddu y prophwydoliaethau, ac yn dymchwel hawliau Crist fel Messiah.

Yr ydym yn dadleu, yn

II. Mai nid meibion Mair a Cleopas oedd yr annghredinwyr hyn. Oblegid ddarfod i Hieronymus ymorchestu i sefydlu y grediniaeth mai meibion Cleopas a Mair, y Mair, fel y dywedant, ydoedd yn chwaer i fam ein Harglwydd, ydoedd y rhai a nodir yma, gelwir y myntumiad hwn yr un Hieronymaidd, er fe ddichon mai Jerome, yn y bedwaredd ganrif, ysgrifenodd yr amddiffyniad mwyaf llafurfawr iddo. Ond yr ydym ni yn credu nad ydoedd Mair, gwraig Cleopas, yn chwaer i Fair y Forwyn, ac felly, mai nid ceraint ein Harglwydd a elwir yn frodyr yma. Ein rhesymau dros y grediniaeth ydynt a ganlyn:

(*a.*) *Y mae yn hynod o annhebyg y buasai yr un enw, Mair, yn cael ei roddi i ddwy chwaer.*

(*b.*) *Nid ydyw gwraig Cleopas yn un man yn cael ei galw yn chwaer i fam ein Harglwydd.* Y mae Wieseler, Ewald, Godet, Meyer, Scaff, Alford, Farrar, Smith, Conder, Fairbairn, &c., yn unfarn mai nid ceraint ein Harglwydd ydoedd y rhai a elwir yn frodyr yma, ac felly nid ydoedd gwraig Cleopas yn chwaer i Mair, eithr ei fod yn fwy tebygol lawer mai Salome oedd yn dal y berthynas hono â hi; ac os cymherir yr adnodau canlynol a'u gilydd, sef, Ioan xix. 25, a Mat. xxvii. 56, gwelir fod tebygolrwydd cryf fod eu barn yn gywir. Wrth roddi hanes y gwragedd a safasant wrth groes ein Harglwydd, enwa Ioan hwy fel y canlyn: "ei fam ef, a chwaer ei fam ef, Mair gwraig Cleopas, a Mair

Magdalen." Wrth roddi hanes yr un gwragedd, yn yr un amgylchiadau, enwa Matthew hwy fel y canlyn: "Yn *mhlith* y rhai oedd Mair Magdalen, a Mair mam Iago a Joses, a mam meibion Zebedeus." Ymddengys yn debyg iawn oddiwrth y dull yr enwir hwy gan Ioan, fod "chwaer ei fam ef," a "Mair gwraig Cleopas" yn ddau berson gwahanol, ac fod Matthew wrth roddi ei adroddiad ef, yn dweyd pwy ydoedd "chwaer ei fam ef," sef, "mam meibion Zebedeus," yr hon ydoedd Salome. Os ydyw yr uchod yn gywir, gwelir mai meibion Salome ydoedd cefnderwyr ein Harglwydd, ac fod y prawf tybiedig o gyfryw berthynas rhyngddo a meibion Zebedeus yn diflanu, a chyda y diflaniad hwnw, ymsudd sylfaen unrhyw ymresymiad safadwy.

(c.) *Os ydyw Mair gwraig Cleopas yn chwaer Mair mam yr Iesu, a'i geraint yn cael eu galw yn frodyr iddo, rhaid felly fod ei frodyr, tra yn anghrediniol, wedi eu dewis yn apostolion, yr hyn sydd yn gwbl groes i dystiolaeth yr Efengylwyr.* Yr oedd Iago mab Cleopas, Judas, a Simon, (Mat. x. 3, 4), yn apostolion etholedig. Yn mhen amser wedi etholiad y deuddeg, dywedir, "Canys nid oedd ei frodyr yn credu ynddo," yr hyn sydd ar unwaith yn gwahaniaethu ei frodyr ef oddiwrth feibion Alpheus, neu Cleopas, (dwy ffurf ar enw yr un person), oddigerth fod yn bosibl credu y gwrthuni nad oedd yr apostolion wedi credu ynddo hyd yn nod ar adeg eu neillduad. Ac mai nid anghrediniaeth hanerog, neu dros amser, ydoedd anghrediniaeth y brodyr hyn, ond ei fod yn un arferol a pharhaol, a brofir gan y ferf a ddefnyddir yma, ac yn neillduol gan ei hamseriad (*episteuon*, imperfect tense). Ceisir,

er yr ystyriaeth anwrthwynebiadwy hon, gan rai ddadleu fod rhai o frodyr ein Harglwydd yn apostolion, a thrwy hyny eu hunaniaethu â meibion Cleopas, a sylfaenant y ddadl ar uchder y safle a roddwyd i Iago yn nghyngor Jerusalem, a'r awdurdod yr ymddengys yn ei harfer yn yr eglwysi apostalaidd (Actau xii. 17, xv. 13, xxi. 18), ond yn benaf ar eiriau yr apostol Paul, sef, "Eithr neb arall o'r apostolion nis gwelais, ond Iago brawd yr Arglwydd." (Gal. i. 19). Haerir fod y geiriau hyn yn cynwys Iago yn mysg yr apostolion, ac mai efe allan o honynt oll, a welwyd gan yr apostol Paul. Gyda golwg ar ddwy ran yr wrthddadl dan sylw, y mae yn rhaid cofio dau beth:

(*a*.) Ddarfod i Iago, Joses, Judas, a Simon, wedi marwolaeth ac adgyfodiad Crist, ddyfod yn gredinwyr yn y Messiah.

Y mae hyn yn eglur oddiwrth Actau i. 14; 1 Cor. xv. 7; 1 Cor. ix. 9. O herwydd eu gwasanaeth i grefydd, ac fe ddichon, i raddau, oblegid eu perthynas â Christ yn ol y cnawd, rhoddwyd iddynt safleoedd anrhydeddus yn yr eglwysi apostolaidd.

(*b*.) Nad ydyw yr ieithwedd a ddefnyddia Paul, o angenrheidrwydd, yn cynwys Iago yn mysg y deuddeg apostol.

Y mae y dullwedd ieithyddol hwn yn gyffelyb i'r un a ddefnyddia Crist yn efengyl Luc, pan ddywed, "Eithr yn wir meddaf i chwi, llawer o wragedd gweddwon oedd *yn Israel* yn nyddiau Elias. * * * Eithr nid at yr un o honynt yr anfonwyd Elias, ond i Sarepta yn Sidon." Yn yr engraifft hon nid ydyw "*ond* i Sarepta," yn dysgu fod Sarepta *yn Israel*.

Engraifft arall: "A llawer o wahan-gleifion oedd *yn Israel* yn amser Eliseus y prophwyd, ac ni lanhawyd yr un o honynt ond Naaman y Syriad." Pwy fyddai yn ddigon ffol i gredu fod yr ymadrodd "*ond* Naaman" yn dysgu fod Naaman yn preswylio *yn Israel*? (Gwel hefyd Mat. xvi. 4; Actau xxvii. 2; Winer Gr. N. T., p. 789.) Felly, yn ol yr un priod-ddull, yr hyn a ymddengys yn cael ei ddweyd gan Paul ydyw hyn: "Ni welais neb o'r apostolion, ond gwelais Iago brawd yr Arglwydd."

Gan nad pwy sydd am restru Iago a Judas yn mysg y deuddeg apostol, y mae yn deilwng o sylw nad ydynt hwy eu hunain yn ymhoni urddas nac awdurdod y swydd. (Iago i. 1; Judas i. 1.) Yn ngrym y myfyrdodau blaenorol, ac yn rhagweled adgyfnerthion ychwanegol, yr ydym yn meiddio gwneyd y trydydd gosodiad, sef,

III. Mai meibion Mair a Joseph ydoedd yr anghredinwyr hyn, ac felly yn frodyr naturiol i'r Arglwydd Iesu. Yn ngoleuni y gosodiad hwn,

(*a.*) *Y gwelwn gywirdeb yr enw a roddir arnynt.* Gelwir hwy, nid yn "haner brodyr," nac yn "geraint," ond yn "frodyr." Fel y sylwa Farrar: "Gelwir hwy yn wastad yn *adelphoi*, ac nid un amser yn *anethioi*, neu *suggeneis*." Ac fel y sylwa Neander, drachefn, wedi dyfynu Luc viii. 21; Marc iii. 31; Ioan ii. 12, vii. 3), "y byddai yn drais a'r rhanau hyn i dybied fod *adelphoi* ynddynt oll yn cael ei osod yn lle *anethioi*." Buasai galw ceraint yn frodyr yn gamgyfeiriol hollol—y fath gamgyfeiriad nad allwn gredu fod yr efengylwyr yn euog o hono. Pe na buasai un gair arall i ddynodi perthyn-

asau gwahanol, ond yr un a ddefnyddir yma, a phe buasai yr ysgrifenwyr bob amser yn galw pob perthynas gnawdol yn *frodyr* neu *chwiorydd*, buasem yn deall yr wrthddadl a ddefnyddir, ond pan yr ydym yn gweled Elizabeth yn cael ei galw yn *gares* Mair (Luc i. 36); yn clywed un yn cael ei wahaniaethu fel *mab chwaer* Paul (Actau xxiii. 16), ac yn deall fod Marc yn cael siarad am dano fel "*nai* Barnabas, fab ei chwaer" (Col. iv. 10), yr ydym yn gwbl anmharod i gredu fod gair yn cael ei ddefnyddio i ddarlunio perthynasaeth y Gwaredwr ag sydd yn gwbl gyfeiliornus.

Wrth eu hystyried yn frodyr naturiol hefyd, yr ydym yn cael eglurhad,

(*b.*) *Ar y ffaith eu bod yn ymddangos yn wastadol yn nghymdeithas Mair.* (Gwel Mat. xii. 46; Marc iii. 31; Actau i. 14.)

Y mae y gosodiad uchod hefyd,

(*c.*) *Yn taflu goleu ar eu hyfder, a'r ymhongarwch o ddyddordeb a amlygir yn eu hymyriad a'r Gwaredwr.* (Gwel y cysylltiadau.)

Y mae anghrediniaeth y brodyr hyn yn dysgu i ni y gwahaniaeth a all fodoli rhwng brodyr a orweddasant yn yr un groth; yr anghydwelediad a all ymgodi yn nheulu y rhai duwiolaf, yn enwedig os bydd mwyafrif y plant yn anghredinwyr; y gall ymyriad eto ddygwydd â chrefydd yr hwn nad ydyw ei amcanion ysbrydol yn cael ei ddeall gan ei gyfeillion anianol; fod ymyriad y digrefydd â'r crefyddol yn gyffredin yn cynwys sarugrwydd, awgrymiadau o ddybenion iselwael, yn nghyd ag amheuaeth o ddidwylledd; mai dyledswydd y crefyddwr yn nghanol anghrefyddwyr, ydyw

peidio myned gyda hwy hyd yn nod i'r gwleddoedd llawenaf, os ydyw ewyllys ddatguddiedig Duw yn gomedd hyny; ac yn olaf, gan i'r Arglwydd Iesu wrth farw, er iddo fethu gwneyd hyny trwy diriondeb, dagrau a gwyrthiau ei fywyd, symud anghrediniaeth ei frodyr, fod yn bosibl i grefyddwyr eto, y rhai sydd wedi gweled fod eu gweddiau, eu cyngorion a'u hesiamplau yn aneffeithiol i ddychweliad eu perthynasau, enill y cyfryw drwy farw yn fuddugoliaethus. Y mae un cynyg yn aros eto i'r rhai ag ydynt hyd yn hyn yn gorfod byw yn nghanol perthynasau anghrediniol, ac y mae hwnw i ddyfod pan gyrhaeddant Galfaria eu hanes.



## AMSEROEDD ADFERIAD POB PETH.

"Edifarhewch gan hyny, a dychwelwch, fel y dilëer eich pechodau, pan ddelo yr amseroedd i orphwys o olwg yr Arglwydd; Ac yr anfono efe Iesu Grist, yr hwn a bregethwyd o'r blaen i chwi: Yr hwn sydd raid i'r nef ei dderbyn, hyd amseroedd adferiad pob peth, y rhai a ddywedodd Duw trwy enau ei holl sanctaidd brophwydi, erioed."—Actau iii. 19–21.

### YMHOLIADAU.

A oes perthynas rhwng y geiriau hyn a rhywun heblaw gwrandawyr Pedr? Pa beth ydyw natur y cyfnewidiad yr ä dyn drwyddo pan yn edifarhau ac yn dychwelyd? Pa un ai gan bersonau unigol, neu ynte gan yr eglwys yn gyffredinol, y mae yr orphwysfa a addewir i'w mwynhau? Pa un ai y ddynoliaeth syrthiedig, neu ynte y greadigaeth felldithiedig, yr addewir

iddi adferiad yn ail ymddangosiad y Mab? Ai yr unrhyw gyfnodau ydynt *amseroedd* gorphwys o olwg yr Arglwydd, ac *amseroedd* adferiad pob peth, neu ynte a ydynt yn wahanol?

Pan yr anfonodd ysgolor at y rhai a gyfieithiasant y Beibl yn amser Iago I., fod ganddo ef bump o resymau dros iddynt fabwysiadu cyflead arbenig y dadleuai ef drosto, anfonasant iddo atebiad yn dweyd, os oedd ganddo ef bump o resymau dros y darlleniad, fod ganddynt hwythau bymtheg o resymau yn ei erbyn. Nis gwyddom pa nifer o resymau ellid fyddino dros gadwraeth cyfieithiad y testyn awdurdodedig o'r adnodau uchod, nac ychwaith pa mor lluosog yr ystyriaethau a alwant am gyfnewidiad ynddo; ond un peth a wyddom, sef fod ein prif gyfieithwyr, hen a diweddar, nid yn unig wedi effeithio cyfnewidiadau ynddo, ond rhagor, fod y cyfnewidiadau hyny yn dwyn tebygoliaeth neillduol y naill i'r llall. Drwy gyfrediad lled gyffredin, o ddyddiau Jerome, pan roddwyd i'r byd y cyfieithiad Lladinaidd a henafol a elwir y Vulgate, hyd y flwyddyn 1885, pan gyhoeddwyd ffrwyth ymchwiliad ysgolheigion Beiblaidd Lloegr ac America, gan brifysgolion Oxford a Cambridge, y mae y gwreiddiol wedi ei gyfleu yn wahanol i'r hyn a geir yn y testyn awdurdodedig. Gydag ychydig o wahaniaeth dibwys, y mae Tichendorf, Alford, Duveil, Hacket, Dr. Cowles, Dr. Jacobson, John Williams, &c., yn cytuno i rag-gysgodi cywirdeb y darlleniad canlynol o eiddo y Cyfieithiad Diwygiedig. Y cyfieithiad ydyw: "Repent ye therefore, and turn again, that your sins may be blotted out, *so that there may come* seasons of refreshing from

the presence of the Lord; *and that he may* send the Christ, who hath been appointed for you, even Jesus: whom the heaven must receive until the times of restoration of all things, whereof God spake by the mouth of his holy prophets, which have been since the world began."

Gan fod y darlleniad hwn yn cael ei dderbyn gyda graddau mor helaeth o gymeradwyaeth ac undeb, nyni a fenthycwn ei oleuni tra yn anturio i fewn i dywyll-leoedd y geiriau. Galluoga ni i sylwi,

I. AR Y CYFNEWIDIAD YSBRYDOL Y DYMUNAI PEDR AR I'W WRANDAWYR EI CHWENYCHU, A MYNED DRWYDDO. "Edifarhewch gan hyny, a dychwelwch."

Y rhai hyn ydynt y ddwy weithred fawr gychwynol yn mhob mudiad achubol. Y mae y naill yr un mor hanfodol a'r llall. Nid digon i ddyn edifarhau; rhaid iddo hefyd ddychwelyd, sef dewis drachefn y Crist a wrthododd, a gwrthod drachefn y Barabbas a ddeisyfodd. Y mae perthynas a thebygoliaeth rhwng y weithred gyntaf a'r ail; ar yr un pryd y maent yn wahanol i'w gilydd. Edifeirwch ydyw teimlad galarus y dyn ar ol gweled ei hunan yn gyfeiliornus; dychweliad ydyw ymdroad y dyn at Dduw, gyda llawn fwriad a llwyr ymroddiad i'w garu a'i wasanaethu. Iaith yr edifeiriol ydyw, "A minau yn marw o newyn;" ond iaith y dychwelwr ydyw, "Mi a godaf, ac a af at fy nhad." Gellid cyffelybu y ddwy sefyllfa feddyliol i ddwy geulan afon argyhoeddiad, un ar ochr colledigaeth, a'r llall yn nghyfeiriad diogelwch tragywyddol. Neu ynte, dichon yn wir y gellid edrych ar y ddau air fel darluniad o agweddau mewnol ac allanol troedig-

aeth. Pan y mae dyn yn edifarhau, y mae y cyfnewidiad grasol yn myned yn mlaen yn fewnol, ond pan y mae dyn yn dychwelyd, y mae y cyfnewidiad yn myned yn mlaen yn allanol, ac fel canlyniad, y mae y dyn gweledig yn dyfod i gydgordiad a'r dyn anweledig; y mae y galon a'r fuchedd, yr egwyddor a'r weithred, wedi eu cyfnewid, ac yn gogoneddu Duw. Galluogir ni i sylwi,

II. AR Y TRI CHANLYNIAD SYDD I DDEILLIAW O EDIFEIRWCH A DYCHWELIAD DYNION.

1. *Dilead pechodau.* "Fel y dilëer eich pechodau." Defnyddir y gair *dileu* gan Xenophon, i osod allan y weithred o dynu ymaith enw oddiar lechres neu gyfres—rhathu y llythyrenau allan fel na fuasent yn ganfyddadwy o hyny allan. Ond y tebygolrwydd ydyw, mai cyfeiriad sydd yn yr ymadrodd hwn, megys y sylwa Dr. Jacobson yn y "Speaker's Commentary," at yr hen ddull o ysgrifenu ar gwyr. Ffurfid y llythyrenau gydag ysgrifell a elwid y *stylus*, a gallai yr ysgrifenydd, nid yn unig dori lluniau y llythyrenau ar y cwyr, ond hefyd, gyda yr un ysgrif-bin blaenllym, eu llwyr ddileu oddiarno. Os ydyw cyfeiriad y geiriau, a chredwn ei fod, at y dull hwnw, gwelir felly fod yr ymadrodd ffigyrol hwn o eiddo yr apostol yn cynwys y desgrifiad grymusaf dichonadwy o faddeuant pechodau. Y mae y pechodau, nid yn cael eu hanghofio, nid eu pellhau, nid eu taflu y tu ol i gefn i Dduw, neu ynte i ddyfnder y môr, ond yn cael eu dileu am byth allan o'r golwg. Nis gellir yn dragywyddol weled olion o honynt ar lyfrau Duw. Gwyddom am amgylchiad a ddygwyddodd yn Nghymru, a brofa y gall dyn ddweyd

fod yn llestr ardderchog, i ddal blodau sancteiddrwydd yn nheml Cristionogaeth. Trefn bwriad y nefoedd ydoedd, yn ogystal a threfn teithiau yr apostolion, "I'r Iuddew *yn gyntaf*, ac hefyd i'r Groegwr." Gwrthodasant y Messiah a gynygiwyd iddynt; ond yn hytrach na'u teilchioni, yn ei ddigofaint, yn erbyn creigiau damnedigaeth, y mae Duw drachefn yn eu gosod ar droellau ei ragluniaeth, gan eu gwasgaru drwy bob gwlad, a'u gwneyd yn waradwydd yn mysg yr holl genedloedd. Os nad all y crochenydd anfeidrol gyrhaedd ei amcanion gwreiddiol, gwna iddynt, ac erddynt, y peth goreu agosaf at hyny. (2 Tim. ii. 20,21.) Ac y mae yma reswm arall, drachefn, dros ddystawrwydd tragywyddol: "Beth os Duw yn ewyllysio dangos ei ddigofaint, a pheri adnabod ei allu, a oddefodd trwy hir-ymaros lestri digofaint, wedi eu cymwyso (neu yn gywirach, a *gymwysasant eu hunain*—y mae y ferf yn y *middle voice*) i golledigaeth."

Y mae yr eglurhad uchod yn cymell yr ystyriaeth ddifrifolaf o'r gwirioneddau canlynol:

1. *Fod y Duw mawr wedi ymddiried i ddyn alluoedd, os y defnyddia hwy, a brofant yn dragywyddol angeuol iddo.* Gall, os dewisa, ddianrhydeddu Duw, a gwrthod ei Fab, os y myn; gall dori ar draws, o dan, a thros holl oruchwyliaethau Duw, a myned i uffern. Os yr ewyllysia, gall aneffeithioli holl fwriadau trugarog yr Arglwydd gyda golwg arno. Y mae yr ymsyniaeth hon yn bruddaidd a llethol!

2. *Fod yn ddichonadwy i Dduw ddyfod i gymod a gwrthryfelwr ar unrhyw amser.* Nid oes dim mewn arfaeth, mewn etholedigaeth, mewn penarglwyddiaeth,

yn atal yr Arglwydd i drugarhau. Nid Allah y Moslem ydyw ein Duw ni, wedi cadwyno ei hunan fel nad all drugarhau pan amlygir edifeirwch. Y mae yn dragywyddol rydd i weithredu yn ol dadblygiad cymeriadau plant dynion. A siarad yn ddynol, gall edifeirwch dyn ar unrhyw eiliad gyfnewid anghyfnewidioldeb Duw. Yr ydym yn credu duwinyddiaeth ein hen dadau Cymreig, pan ddywedent, "Nid ydyw arfaeth Duw wedi damnio neb erioed, ond y mae wedi cadw myrddiynau."

3. *Y mae colledigaeth felly yn deilliaw o ddyn ei hunan, ond ei gadwedigaeth yn dyfod o oludoedd gras Duw.* Yr ydym yn credu y gwirioneddau sylfaenol canlynol, ac yn edmygu y modd y gosodir hwy allan gan Dr. Forbes:

Y mae pob daioni yn deilliaw oddiwrth Dduw.
Y mae pob drygioni yn deilliaw oddiwrth ddyn.
Y mae etholedigaeth yn dechreu yn ngras rhydd Duw.
Y mae gwrthodedigaeth yn dechreu yn ewyllys rydd dyn.
I Dduw y perthyn yr holl ogoniant am gadwedigaeth yr etholedigion.
I ddyn y perthyn yr holl gyfrifoldeb am ddinystr y gwrthodedigion.

Adroddwyd wrthym am yr Hybarch Powell, Caerdydd, yn Lloegr yn casglu at ei gapel. Gwnaeth un boneddwr amod ag ef y buasai yn cyfranu os y buasai yn esbonio adnod iddo, ac y mae ei esboniad yn eglurhad ar y gwirionedd dan sylw. "Pa un ai yn y Tes-

tament Newydd neu yn yr Hen Destament y mae yr adnod?" gofynai y casglwr. "Yn y Testament Newydd." "Yn mha ran o'r Testament Newydd?" "Yn y llythyr at y Rhufeiniaid." "O, wel," meddai Powell, "yn y Testament Newydd, ac yn y llythyr at y Rhufeiniaid, y llythyr anhawddaf i'w ddeall o'r llythyrau oll. Yn mha benod yn y llythyr at y Rhufeiniaid?" "Yn y nawfed benod." "Wel, wel, atebai y patriarch, yn y llythyr at y Rhufeiniaid, ac yn y nawfed benod, y benod anhawddaf i'w deall o'r holl benodau i gyd. Atolwg, syr, ond pa adnod ydyw yn y nawfed benod o'r llythyr at y Rhufeiniaid?" "Y drydedd ar ddeg, 'Jacob a gerais, eithr Esau a gaseais.'" "O, beth sydd yn ddyrys i chwi yn yr adnod yna?" "Paham y casaodd Esau?" "O," atebodd, dan wenu yn chwerthinaidd, "'does un dyryswch yn y byd yn hyny i mi, oblegid yr oedd Esau wedi *rhyglyddu hyny*, ond y syndod tragywyddol i mi ydyw, iddo erioed garu Jacob."

# CADWEDIG MEGYS TRWY DAN.

"Canys cyd-weithwyr Duw ydym ni: llafurwaith Duw, adeiladwaith Duw, ydych chwi. Yn ol y gras Duw a roddwyd i mi, megys pen-saer celfydd, myfi a osodais y sylfaen, ac y mae arall yn goruwch-adeiladu. Ond edryched pob un pa wedd y mae yn goruwch-adeiladu. Canys sylfaen arall nis gall neb ei osod, heblaw yr un a osodwyd, yr hon yw Iesu Grist. Eithr os goruwch-adeilada neb ar y sylfaen hon, aur, arian, meini gwerthfawr, coed, gwair, sofl: Gwaith pob dyn a wneir yn amlwg: canys y dydd a'i dengys, oblegid trwy dân y datguddir ef: a'r tân a brawf waith pawb, pa fath ydyw. Os gwaith neb a erys yr hwn a oruwch-adeiladodd ef, efe a dderbyn wobr. Os gwaith neb a losgir, efe a gaiff golled: eithr efe ei hun a fydd cadwedig; eto felly, megys trwy dân."—1 Cor. iii. 9-15.

Y mae Llythyrau yr Apostolion yn dryfrith o allegau uchel ac ardderchog. Gwisga rhai o'r allegau hyn wedd filwrol; rhaid ymgydnabyddu a defion milwrol y cyfnodau hyny cyn y gellir eu deall a'u gwerthfawrogi. Y mae grym a phrydferthwch allegau eraill yn ddealladwy yn ngoleu drêl-gampau poblogaidd yr oes apostolaidd; oddieithr i'r darllenydd o honynt wybod am yr ymorchestau mewn rhedeg, ymgodymu, &c., y mae yn amddifad o syniad cywir am feddwl lluaws o adranau. Yn fynych hefyd, y mae rhyw nodweddion perthynol i deulu, a'i aelodau, yn cael eu gosod o dan dreth i weithio i'r golwg berthynasaeth ysbrydol a nodweddion teulu Duw. Buasai yn dra dyddorol, ond yn estronol i'n hamcan, i nodi allan, a dylyn engreifftiau o allegau ardderchog sydd wedi eu sylfaeni ar arweddion milwrol, gorchest-gampol, teuluol, arch-adeil-

adol, &c. Cyfyngwn ein hunain at esiampl neu ddwy ar ein ffordd at alleg y testyn. Meddylier am y defnydd a wna Pedr o blentyn newydd-anedig yn chwenych llaeth y fron, er arddangos pa mor angerddol y dylai plant yr Arglwydd ymawyddu am y gwirionedd. Yn y teulu y mae yna dad, y mae yna fam, y mae yna faban. Ac y mae yn bwysig i sylwi mai baban newydd-anedig ydyw. Nid plentyn dwy flwydd oed, yn gallu cario ei gadair fach at y bwrdd, cyd-fwyta a'r teulu, ac yn difyru o gylch y buarth, ydyw; ond baban, a baban sydd yn byw ar laeth, ac y mae yn rhaid iddo ei gael. Yfwyr anghyffredin ydyw babanod bychain. Er fod y fam yn rhodresu dwrdio llawer, fe fyn yr un bychan yfed. Ymbalfala am ddiod yn y nos; chwilia am y gwlybwr yn ei gwsg. Y mae yn rhaid fod yna ryw wres anghyffredin yn nghylla yr un bach. Diota y peth olaf yn y nos, a'r peth cyntaf yn y boreu. Yfa yn y capel, er fod ei fam yn dangos y pregethwr iddo, y diacon yn dangos ei ddwrn, y tad yn dangos ei bentwr allweddau, a'r pregethwr yntau yn dangos ei anfoddlonrwydd drwy aros, pesychu, a thaflu edrychiad awgrymiadol i gyfeiriad yr aflonyddwr bychan; eto, dengys ef yn ol i bawb nad oes dim heddwch i fod yn yr oedfa ond ar un amod, a hono ydyw, ei fod ef i gael llymaid i'w yfed. Ac wedi iddo gael y llaeth, cysga o dan ddylanwad ei falm bywydol, gan daflu ei law fach wen i fyny, megys lluman heddwch i'r gynulleidfa. Y mae ei dangnefedd yn y llaeth, y mae ei baradwys yn y llaeth, y mae ei gynydd yn y llaeth, y mae ei bob peth yn y llaeth. "Fel," meddai Pedr, "rhai bychain newydd-eni, *chwenychwch ddidwyll* laeth y gair." (Pedr

ii. 2.) Y mae yr ysbrydol yn eglurach yn ngoleuni y naturiol.

Meddylier, drachefn, am engraifft o alleg filwrol. Y mae Paul, un diwrnod, yn ngolwg gwarchodlu Pretoria, ceidwaid ymerodrol Rhufain, ac y mae yn rhwym a chadwen wrth un o honynt pan yn ysgrifenu ei lythyr at yr Ephesiaid. Cyfyd ei olwg i fyny, a gwel fod eu gwisg filwrol yn cael ei gwneyd i fyny o chwech o ddarnau gwahanol, sef gwregys, dwyfroneg, esgidiau, tarian, helm, a chleddyf. Gwrandawer arno yn cyfarch yr Ephesiaid, a'i lygaid ar yr olygfa yna: "Gwisgwch holl arfogaeth *Duw* (arfogaeth Rhufain sydd am y rhai yr edrychai arnynt), fel y galloch sefyll yn erbyn cynllwynion y *diafol.* Oblegid nid yw ein hymdrech *ni* (y Cristionogion) yn erbyn *gwaed* a *chnawd* (gwaed a chnawd y rhaid i warchodlu Rhufain sefyll yn eu herbyn), ond yn erbyn *tywysogaethau*, yn erbyn *awdurdodau* (enwau ar yr angelion syrthiedig), yn erbyn bydol-lywiawdwyr *tywyllwch* y byd hwn (galluoedd gwladol paganaidd), yn erbyn *drygau ysbrydol* yn y *nefolion* leoedd (personau ac egwyddorion drwg yn yr eglwysi). Am hyny cymerwch atoch holl arfogaeth *Duw*," &c. Wel, pa beth ydyw holl arfogaeth Duw? Yr un pethau yn union, mewn alleg, ag a wisgir gan warchodlu Pretoria. "Wedi amgylchwregysu eich lwynau a *gwirionedd*, a gwisgo dwyfroneg *cyfiawnder*; a gwisgo am eich traed esgidiau parotoad *efengyl y tangnefedd:* uwchlaw pob dim wedi cymeryd tarian y *ffydd*, â'r hon y gellwch ddiffoddi holl bicellau tanllyd y *fall.* Cymerwch hefyd helm yr *iachawdwriaeth*, a chleddyf yr *Ysbryd*, yr hwn yw *gair Duw.*"

(Ephesiaid vi. 11–17.) Dyma, ynte, y lwyr-arfogaeth ag sydd gan filwr Crist i sefyll ynddi—gwirionedd yn wregys, cyfiawnder yn ddwyfroneg, ufudd-dod yn esgidiau, ffydd yn darian, iachawdwriaeth yn helm, a gair Duw yn gleddyf. Y mae yr alleg yn brydferth yn ngoleuni yr amgylchiadau y llefarwyd hi. (Gellir gweled lluaws o engreifftiau cyffelyb yn "The Allegories of St. Paul," gan y Deon Houson.)

Y mae yn dra eglur mai alleg sydd yn yr adnodau y sylwir arnynt yn yr ysgrif hon; ac y mae yn eglur, hefyd, fod yn annichon deall y gwirionedd fwriedir gyflwyno drwyddi heb ymgydnabyddu ag arddull archadeiladol y cyfnod yr ysgrifenwyd hi, yr hwn hefyd ydoedd yn gwbl ddealledig gan aelodau eglwys Corinth. Yr ydym yn credu y bydd cymeryd ein safle yn nghanol adeiladau dinas Corinth, sylwi ar neillduolion eu harch-adeiladaeth, ac yn enwedig edrych ar ganlyniadau y tân a dyr allan, a'i ddylanwad gwahanol ar fagwyradau a thai, gan gysylltu â hyny sefyllfa ymranedig eglwys Crist yn Corinth ar y pryd, yn taflu goleu newydd a naturiol ar y paragraph dyddorol hwn. Y mae y deongliad a gyrhaeddir drwy y cynllun hwn yn cynwys atebiad llawn, clir, a boddhaol i'r

YMHOLIADAU

canlynol; yn fwy felly, ymddengys i mi, nag unrhyw ddeongliad arall. Yr ymofyniadau y mae darllenydd yr adnodau debycaf o'u gwneyd ydynt: Pa beth ydyw yr adeilad y dywed yr Apostol ei fod ef a'i frodyr yn gydweithwyr dan Dduw yn ei gyfodiad? Pwy ydyw y sylfaen ar ba un y mae y saernïaeth ardderchog yn

sefyll? Pa bethau neu bersonau sydd yn cael eu cynrychioli gan yr aur, yr arian, y meini gwerthfawr, y coed, y gwair a'r sofl? Pa adeg ydyw y *dydd* yn mha un y mae gwaith pob adeiladydd i'w osod yn y prawf? Pa beth a olygir wrth "cadwedig, eto felly megys trwy dan?"

Cymerai lawer o ofod i osod i lawr holl fyntumiau awduron parth dysgeidiaeth Paul yn y geiriau, heb son am ddylyn a chofnodi yr ystyriaethau a honant fel ategion. Yn hytrach na gwneyd hyny, dodwn yn unig y prif ddamcaniaethau ger bron mewn ffurf osodiadol, gan adael yn ddisylw y rhai mwyaf eithafol mewn cyfeiliornad.

(*a.*) Barn un dosbarth ydyw, mai yr adeilad a ddarlunir ydyw crefydd yn y galon, ac mai y coed, y gwair a'r sofl ydyw cyfeiliornadau mewn barn ac mewn buchedd, ac y bydd i bob dyn y mae egwyddor dda yn ei galon fod yn gadwedig, ond y dinystrir ei anmherffeithrwydd. Y mae rhai o'r dosbarth hwn yn ychwanegu, fod y meddylddrych arall o *raddau* mewn diogelwch a gogoniant, yn ol y cyfartaledd o sancteiddrwydd y byddo dyn wedi ei gyrhaedd, yn cael ei ddysgu; mewn gair arall, y bydd pawb a feddant ffydd yn gadwedig, ond rhai o'r cyfryw yn gadwedig "megys trwy dan," neu gyda graddau helaeth o berygl.

(*b.*) Barn dosbarth arall ydyw, mai darlunio y mae Paul waith athrawon crefyddol, yn cyhoeddi a dysgu egwyddorion croes i Gristionogaeth, yn nghyd a'r golled dri-phlyg a gânt yn nydd yr ymweliad, o herwydd hyny, sef colli ffrwyth eu gwaith, colli llawer o

anrhydedd, a cholli helaethrwydd y profiad o iachawdwriaeth bersonol.

(*c.*) Barn y trydydd dosbarth, yr un Rhufeinig, yw, fod y geiriau yn dysgu y bydd i'r purdan losgi ymaith bob anmhuredd, sef "y coed, y gwair a'r sofl" perthynol i'r credinwyr hyny fyddant heb eu cwbl sancteiddio yn y byd hwn, ac y deuant hwy eu hunain yn gadwedig trwy ddylanwad pureiddiol y tan hwnw.

Wrth sylwi ar y dyb olaf hon, dywed Olshausen: "Nid ydyw yr adran yn cyfeirio at bureiddiad personau oddiwrth bechod, ond at brawf ar eu gweithrediadau a'u hadeiladwaith," ac oblegid hyny dywed Bengel: "Y mae y testyn mor bell o wyntyllio fflamau y purdan, fel y mae, yn hytrach, yn gweithredu fel eu diffoddydd."

Y mae dau beth i'w cadw mewn cof wrth ymestyn at geisio cael dirnadaeth am feddwl y geiriau, sef, yr amgylchiadau yr oedd eglwys Corinth ynddynt ar y pryd, ac hefyd arddull adeiladol dinasoedd y cyfnod hwnw. Yr oedd yr eglwys at ba un yr anfonwyd y Llythyr, yn ymranedig o ethryb i'w hathrawon crefyddol. "Canys tra y dywedo un, Myfi ydwyf eiddo Paul; ac arall, Myfi wyf eiddo Apolos; onid ydych chwi yn gnawdol? Pwy gan hyny yw Paul, a phwy Apolos, ond gweinidogion trwy y rhai y credasoch chwi, ac fel y rhoddes yr Arglwydd i bob un? Myfi a blenais, Apolos a ddyfrhaodd; ond Duw a roddes y cynydd. Eithr yr hwn sydd yn planu, a'r hwn sydd yn dyfrhau, un ydynt; a phob un a dderbyn ei briod wobr ei hun, yn ol ei lafur ei hun. Canys cyd-weithwyr Duw ydym ni: llafur-waith Duw, adeiladwaith Duw, ydych chwi,"

&c. (Adn. 4–9. Y mae yn eglur oddiwrth y geiriau hyn, fod syniad y frawdoliaeth am berthynas y dysgawdwyr a'u gilydd, a pherthynas y dysgawdwyr â goruwch-adeiladwaith yr eglwys, yn anghywir, ac fel canlyniad, fod rhai, mewn teimladau cnawdol, yn mawrhau Paul; ac eraill, yn yr un teimladau, yn tra dyrchafu Apolos, heb gofio mai gweision i'r un Arglwydd oedd y ddau, a'u bod yn cyd-lafurio ar yr un argymeriaeth fawr ac ysbrydol. Nid oes un ddadl yn meddwl neb nad llonyddu y teimladau chwerwon ac anghrefyddol hyn ydoedd amcan Paul wrth ysgrifenu. Rhaid cofio peth arall, drachefn; yn Nghorinth, yn Ephesus, yn Rhufain, &c., yr oedd y temlau, y prif-fasnachdai, a'r cawr-adeiliau, wedi eu hadeiladu hefyd o fynor, o lechfaen, ac o wenithfaen, ac yr oedd eu colofnau a'u nenau wedi eu haddurno yn gyfoethog ag aur, ac ag arian. Ond mewn dosbarth arall o'r ddinas, lle preswyliai y tlawd a'r iselfoes, adeiladid muriau y tai o goed; gosodid gwellt ynddynt, a sofl a chlai yn dô arnynt. Ar un llaw, wele y mynor a'r wenithfaen, yn nghyd ag aur ac arian; ar y llaw arall, wele y coed, y gwair, a'r sofl. Ar ryw ddiwrnod y mae tan yn tori allan yn y ddinas, a dywed Gloag a Deon Stanley, y gall yr alegori hon fod wedi cael ei hawgrymu gan losgiad Corinth gan y Rhufeiniaid, o dan Mummius. Yn yr oddaeth, y mae y mynor a'r llechfaen, er yn duo, eto yn dal yn y fflam; ond am y tai oedd wedi eu gwneyd o goed, gwair, a sofl, yr oeddynt yn dyfod ar unwaith yn goelcerthu difäedig, ac o'r braidd y gallodd eu preswylwyr ddianc. Darfu iddynt ddianc, mae yn wir; ni

chollwyd bywydau; ond er mwyn dianc yr oedd yn rhaid iddynt dori eu llwybrau trwy leni o fflamau.

Os cofir y ddau beth uchod, gwelir fod yr arall-eiriad canlynol, nid yn unig yn cymeryd i fewn amgylchiadau eglwys Corinth, ond hefyd yn dylenwi yr holl ffigyrau ag ystyr. Megys pe dywedai Paul, "Y mae yna adeilad ysbrydol yn cael ei godi gan Dduw yn Nghorinth—eglwys Iesu Grist. Myfi gafodd yr anrhydedd o osod ei sylfaen i lawr, a phan y gwnaethum hyny, gosodais yr unig sylfaen bosibl, 'yr hon yw Iesu Grist.' Wedi i mi osod y sylfaen, daeth fy mrawd Apolos heibio, a gosododd yntau feini bywiol ar y sylfaen. Wedi hyny bu Cephas yn gweithio ar yr un adeilad, ac ychwanegodd yntau eneidiau at yr oruwchadeiladaeth. Peidiwch ag ymrafaelio yn ein cylch ni, 'cyd-weithwyr Duw ydym ni.' Yn hytrach nag ymbleidio yn nghylch y gweithwyr, cyfeiriwch eich holl sylw at y rheidrwydd o gario y gwaith yn mlaen yn deilwng o hono ei hun, ac o'i ddechreuad. Adeiladwch ar gynllun yr adeiladau cyhoeddus yna sydd yn Nghorinth. Dodwch yn unig yn yr adeilad y cymeriadau goreu, y rhai tebycaf i aur, i arian, a meini gwerthfawr, ond gofalwch gadw allan o'r muriau y rhai cnawdol, defodol, ac anwadal ydynt yn dwyn nodweddion y coed, y gwair, a'r sofl, â pha rai y mae yr aneddai israddol wedi eu cyfodi. Gofalwch fod yr adeiladwaith yn gyfryw ag a fyddo yn deilwng o'r cyhoeddusrwydd a ga yn oes oesoedd. Ac heblaw hyny, cofiwch y mae Duw wedi penodi dydd mawr, dydd y golosgiad diweddaf; dydd profi personau ac eglwysi. Os, yn y dydd hwnw, y ceir fod y personau a dderbyniasoch i

eglwys Dduw yn ddidwyll a gwerthfawr, ac yn cyfansoddi rhan o deml fawr Duw a'r Oen, gwyn eich byd, oblegid chwi a dderbyniwch y wobr gyfatebol i'ch parch at burdeb a sancteiddrwydd. Os, o'r tu arall, y bydd i'r dydd hwnw ddatguddio eich bod wedi goddef y drwg, ac wedi gosod yn yr adeilad ddynion amddifad o addurnau crefydd, bydd eich cyflwr yn un colledus a siomedigaethus, oblegid nid yn unig ni fydd i chwi dderbyn y wobr a estynir i eraill, ond rhagor, bydd eich diangfa bersonol yn gyfyng a pheryglus. Bydd eich gwaredigaeth mor gyfyng a gwaredigaeth y dyn a ddiangodd o'r ty adeiladasid o goed, gwair, a sofl, sef drwy ruthro yn orwyllt trwy y fflam; felly chwithau, '*megys* trwy dan.'"

Y mae esiampl y Corinthiaid, a geiriau Paul, yn ein dysgu

1. *Y gall dynion eto fod yn fwy awyddus i dra dyrchafu rhai o genadon Crist, nag i sicrhau y daioni ysbrydol; y mae pob un o honynt, yn ei ffordd ei hun, yn alluog i'w gyfranu.* Y mae gan lawer o bobl, yn y dyddiau cnawdol hyn, ryw *un* pregethwr. Nid ydyw crybwyll doniau a gwasanaeth eraill wrthynt ond cyfleusdra iddynt addoli yr eilunbregethwr yn fwy angerddol. Paul yr ymresymwr, ydyw cwbl un; Apolos yr areithiwr, ydyw pob peth y llall; tra mae Cephas, â thanbeidrwydd ei sel, wedi llwyr enill calon y trydydd. Bwriadodd y nefoedd i'r holl ddoniau fod yn gynysgaeth gyffredin i'r eglwys, "i adeilad corph Crist."

2. *Y gall dynion eto fod yn fwy awyddus i sicrhau lluosogrwydd rhif yn yr eglwysi nag i sicrhau purdeb*

*a sancteiddrwydd yn yr aelodau.* Hyd heddyw, boddlonir os y ceir eglwys fawr, heb gofio fod eglwys fechan sanctaidd yn tra rhagori i bob dyben, ar eglwys fawr lygredig. Y gofal cyntaf ddylai fod am ansawdd, ac wedi hyny am faintioli yr eglwys. Gwell llafurio yn hir am un a fyddo yn gyffelyb i aur, arian, a meini gwerthfawr, na chael, yn y modd mwyaf didrafferth, gant a fyddo yn gyffelyb i goed, gwair, a sofl. Bydd y gweinidog yn gyfrifol yn y farn os nad ymdrecha, ar y naill law, ddyfod o hyd i'r meini goreu yn chwarelfeydd dynoliaeth; ac yn gyfrifol hefyd, ar y llaw arall, os y gesyd i fewn yn adeilad yr eglwys, ysbwrial cymeriadol a fetha ddal tân y golosgiad.

3. *Y gall dynion eto fod yn fwy awyddus am sicrhau cadwedigaeth rywfodd, nag i sicrhau cadwedigaeth yn y modd anrhydeddusaf.* Y mae crefydd yn cymell dynion, nid yn unig i ymgystadlu am fywyd tragywyddol, ond hefyd am *wobrau* y bywyd hwnw. "Os gwaith neb a erys, efe a dderbyn *wobr*." Nid yn unig cedwir ef ei hunan, a'i holl amgylchoedd, eithr esgyna hefyd i raddau uchaf dedwyddwch y nefoedd. O'r tu arall, os heb yr uchelgais hon, llosgir y llong y mae arni, ac o'r braidd y cyrhaedda lanau y bywyd tragywyddol ei hunan. Yn nydd yr arholiad diweddaf, cyhoeddir ei enw ar baradwydd neuadd y farn yn mysg y rhai fydd wedi pasio, ond nid ar y rhestr fydd yn cynwys enwau y rhai a enillasant anrhydeddau a gwobrau.

# TRADDODI I SATAN.

"Draddodi y cyfryw un i Satan, i ddinystr y cnawd, fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig yn nydd Crist."—1 Cor. v. 5.

Yr oedd pechod y Corinthiad hwn yn un mawr a chyhoeddus. Yn groes i ddeddf Moses (Lef. xviii. 8), ac yn mhresenoldeb syniad cyhoeddus digofus ac anffafriol, priododd â gwraig ei dad, tra yr oedd ei dad eto yn fyw. (2 Cor. vii. 12.) Drwy hyny, nid yn unig cyflawnodd weithred anghyfreithlawn a gwaradwyddus yn ol dyfarniad deddf Moses, ac ymsyniad cydwybodau llygredig ei gydnabod, ond rhagor, yr oedd yn troseddu deddf bendant yn nheyrnas yr Arglwydd Iesu. (Marc x. 1–12.) Wedi amodi priodas â gwraig a roddasai ymaith ei gwr, a chyn hyny, yn fwy na thebyg, wedi cyflawni godineb â hi, y mae yn dyfod ger ein bron fel un yn byw mewn godineb, ond er hyny yn parhau ei aelodaeth yn eglwys Crist—yr eglwys yr oedd ei dad, â pha un y gwnaethai y cam, yn aelod hefyd o honi. Pan gofiom hyn oll, nid ydyw yn un syndod fod yr Apostol, yn ei awydd angerddol am sicrhau purdeb eglwysig, yn cynhyrfu mewn dygasedd at y troseddwr, ac yn arfer ei awdurdod apostolaidd er hawlio ei ddiaelodiad ar unwaith. Nid oes genym gydymdeimlad a'r ysgrifenwyr hyny a geisiant esgusodi y Corinthiad hwn, a hyny drwy ddweyd ei fod yn ieuanc, yn nwydog, yn amddifad o gyfarwyddyd a chydymdeimlad mam; ac nid ymddengys i ni fod y dybiaeth y gallasai y pechod hwn fod yn un cyffredin

yn mysg paganiaid Corinth, nac ychwaith fod cymaint ag un o broffeswyr Cristionogaeth, mewn oesau dylynol, wedi syrthio i unrhyw fudreddi, yn ysgafnhau dim ar faich euogrwydd hwn. Erys y ffaith, er pob ystyriaeth, ei fod wedi cyflawni pechod erchyll yn erbyn Duw a dyn, ac iddo, yn ymwybodol hollol, droseddu deddf perthynasaeth deuluaidd, a deddf aelodaeth eglwysig.

Y mae y ddeddf a gyhoeddwyd ar y troseddwr, yr hon hefyd sydd yn ddarlun o nodwedd y gosbedigaeth yr oedd eglwys Corinth i'w gweinyddu arno, yn cynwys ymadroddion dyeithriol, o fewn i ba rai y gorwedd syniadau anhawdd eu deall, ond y gall eu deall, er hyny, fod yn fantais ymarferol i bawb a addefant y Testament Newydd yn safon dysgyblaeth eglwysig. Wrth sefyll uwchben yr adnod hon, awgrymir i ni yr

YMHOLIADAU

canlynol: Pa beth a olygir wrth draddodi i Satan? A ydyw traddodi i Satan yn golygu llai, neu fwy, na diaelodiad o'r gymdeithas grefyddol?

A ydyw *corph* yr hwn a draddodir i Satan yn dyfod yn agored i ryw anffodion nad ydoedd yn agored iddynt o'r blaen?

Ai y cyfansoddiad corphorol, neu y nwydau cnawdol, yn yr achos dan sylw, oedd i'w difrodi?

A ydyw ffurf y ddedfryd hon i'w mabwysiadu yn barhaus yn mhob achos o ddiarddeliad?

Nis gall unrhyw ddeongliad a gynygir o'r testyn hwn, gynwys atebion boddhaol i'r ymholiadau uchod, oddigerth iddo, yn gyntaf, fod yn gyson â syniadau yr

Apostol mewn lleoedd eraill; ac oddigerth iddo, yn ail, gyfateb i briod-ddull ymadroddol yr Apostol yn y lle hwn; ac ymddengys i ni fod y tri gosodiad canlynol yn gyson a'r naill, ac yn ddyhysbyddol o'r llall:

1. Fod dynion, pan beidiant a bod yn ddeiliaid o deyrnas Crist, yn dyfod yn ddeiliaid o deyrnas Satan.

2. Fod gan Satan allu ac ewyllys, drwy oddefiad dwyfol, i ddrygu cyrph ac amgylchiadau dynion.

3. Fod y drygedd a achosir i gyrph ac amgylchiadau dynion gan Satan, yn cael ei fwriadu gan Dduw er eu hiachawdwriaeth.

Bydd ymhelaethiad ar y naill a'r llall o'r gosodiadau hyn, yn foddion i ddwyn allan feddyliau anweledig y ddedfryd.

I. Fod dynion pan beidiant a bod yn ddeiliaid o deyrnas Crist, yn dyfod yn ddeiliaid o deyrnas Satan. Y weithred a oblygir yn y gair *traddodi* yma ydyw, gwaith yr eglwys, drwy ddiarddeliad cyhoeddus, yn trosglwyddo y troseddwr o deyrnas weledig y naill i deyrnas weledig y llall. Cyhyd ag yr oedd y troseddwr heb ei gyhoeddi yn ddiaelodedig, yr oedd yn cael ei ystyried gan ddynion yn un o ddeiliaid yr Arglwydd Iesu; ond wedi y diaelodiad, yr oedd yn cael ei ystyried gan ddynion yn un o ddeiliaid Satan; a gweinyddiad y ddysgyblaeth oedd yn effeithio y cyfnewidiad arswydlawn hwnw yn ei sefyllfa. Bellach, adnabyddir ef gan y nefoedd, y ddaear, ac uffern, fel un wedi newid ei frenin yn y byd ysbrydol. Ond y mae a fyno y frawddeg dan sylw, "Traddodi i Satan," yn benaf â'r canlyniadau alaethus sydd yn dylyn y traddodiad, sef fod y dyn yn cyrhaedd sefyllfa nas gall

ddysgwyl ynddi ddiogelwch nac amddiffyniad. Cyfleir ef "*i Satan.*" Pan y mae dyn yn dyfod i deyrnas Crist drwy fedydd, y mae yn dyfod i afael â holl ragorfreintiau yr efengyl; ond pan y mae, drwy bechod, yn myned yn ol i deyrnas Satan, y mae yn colli pob rhagorfraint, ac yn dyfod yn agored i bob temtasiwn a pherygl. Tra yn yr eglwys, y mae o fewn cylch deddfau a dylanwadau iachawdwriaeth, oblegid Crist sydd yn breniniaethu yno; ond wedi ei ddychweliad i'r byd, y mae yn ddarostyngedig i bob pechod a dylanwad dieflig; yno Satan sydd yn llywodraethu. Mewn gair byr, golyga y traddodi hwn osod y dyn y tu allan i gylch yr amddiffyniad dwyfol. Mor annhraethadwy alarus ydyw cyflwr y dyn hwnw a fwrir allan o gymundeb eglwys Dduw!

II. Fod gan Satan allu ac ewyllys, drwy oddefiad dwyfol, i ddrygu cyrph ac amgylchiadau dynion. Yn ngoleu y gosodiad hwn y gwelwn synwyr yr ymadrodd "*dinystr y cnawd.*" Canlyniad y traddodiad ydoedd *dinystr* y cnawd. Y mae rhai esbonwyr wrth y frawddeg dan sylw yn golygu dinystr balchder, ymbleidiaeth, a nwydau cnawdol eraill; ond annichon derbyn y cyfryw esboniad, a hyny am y rhesymau canlynol:

1. Nid ydyw yn debygol y buasai Satan yn ymgeisio at ddiddymu unrhyw elfen bechadurus yn nghalonau y rhai a draddodid iddo.

2. Y mae y ceryddon a fygythia yr Apostol ar gymeriadau drygionus yr eglwysi, yn rhagdybied rhywbeth gwahanol i symud ymaith eu gwendidau pechadurus. (1 Cor. iv. 21; 2 Cor. xiii. 1, 2. 15.)

3. Y mae y gair *cnawd* yn y frawddeg hon, yn gyf-

erbyniol i'r gair *ysbryd* yn y frawddeg nesaf. Y mae safle gyferbyniol y geiriau hyn yn ddigonol ynddi ei hun i brofi mai corph materol, ac nid llygredigaeth foesol, a olygir.

Nid oes dim yn eglurach nag fod poenau, doluriau, heintiau, a phob adfydau sydd yn cyfarfod â dynion yn y byd, yn deilliaw oddiwrth ddiafol. Drwy dralliodion felly y mae Satan yn bwriadu dyrysu cynlluniau Duw, a sychu holl ffynonellau cysur dyn. Nid syniad paganaidd yn unig ydyw hwn, ac nid yn nhraddodiadau cenedloedd y mae ei unig sail, eithr y mae yn cael ei ddysgu yn nghyfangorph yr Ysgrythyrau. Pan yr ataliwyd Paul i ymweled â'r Thessaloniaid, gwelai ef ymyriad dieflig yn yr atalfa hono. "Am hyny yr ewyllysiaswn ddyfod atoch (myfi Paul yn ddiau) unwaith a dwywaith hefyd, eithr Satan a'n lluddiodd ni." (1 Thes. ii. 18.) Pan yn cael ei boenydio gan wendid parhaus, poenus, ac anfeddyginiaethol, olrheiniai hwnw i ystryw Satan. "Rhoddwyd i mi swmbwl yn y cnawd, cenad *Satan* i'm cernodio." (2 Cor. xii. 7.) Yr oedd ei Arglwydd, o'i flaen ef, wedi darllen yn nyoddefaint dynion yr un gwirionedd. Pan yn sylwi ar achos y wraig hono a fuasai gystuddiol dros ddeunaw mlynedd, dywedodd, "Ac oni ddylai hon, a hi yn ferch i Abraham, yr hon a rwymodd Satan, wele ddeunaw mlynedd, gael ei rhyddhau o'r rhwym hwn ar y Sabbath?" Bu yr un Satan ag a aeth a chyfoeth, plant, ac iechyd Job, hefyd yn nithio holl ddysgyblion ein Harglwydd. Pan y mae dyn yn hollol yn llaw Satan, nid ydyw ei gorph, ei iechyd, ei amgylchiadau, na dim a fedd, yn ddiogel. Yn gytunol a'r gwirionedd

diamheuol hwn, gallwn yn rhwydd amgyffred fod trosglwyddiad y Corinthiad hwn i ddwylaw yr un penaeth maleisddrwg, i gael ei ddylyn gan ddyryswch yn ei fwriadau, gan golledion yn ei amgylchiadau; neu ynte yr hyn sydd fwy tebygol, gan ryw boenau ac arteithiau corphorol, ag a fuasai yn ei wneyd yn ddychryn iddo ei hunan ac i eraill. Megys ag y tarawyd Elymas â dallineb yn gysylltiedig â cherydd Paul, felly tebygol fod y Corinthiad llygredig hwn, dan gerydd yr eglwys, yn teimlo rhyw ddirdyniadau chwerwon a llethol yn ei gyfansoddiad, y cyfryw ag a'i cadwai i barhau i feddwl am fawredd ei bechod, ac a'i harweiniai i ymlid am faddeuant ac adferiad. Buasai y fath gosbedigaeth weladwy yn rhybuddiol i eraill hefyd. Rhaid fod y ddedfryd a olygai diaelodiad cyhoeddus, diarddeliad hollol o'r cynulliadau crefyddol, yn nghyd a gosodiad arno nychdod a barai i'w gnawd gilio, yn creu arswyd yn meddwl pob Cristion difrifol, rhag syrthio o hono yntau hefyd i'r unrhyw amryfusedd.

Megys ag mai nid dynwarediad o ffurfiau esgymunol Iuddewiaeth ydyw yr esgymundod a weinyddir ar y troseddwr hwn yn Nghorinth, felly nis gall unrhyw eglwys eto fabwysiadu y ffurf hon, oddigerth fod apostol ysbrydoledig, un fel Paul, yn meddu "gallu ein Harglwydd Iesu Grist," sef gallu goruwch-naturiol, yn weinyddwr y ddysgyblaeth o'i mewn. Ni fedd y fath ffurf un synwyr nac effaith, ond yn ngenau rhai gallu-og i gyflawni gwyrthiau; ar yr un pryd, dylid sylwi fod pob dysgyblaeth a weinyddir gan swyddogion awdurdodedig eglwys Dduw yn awr, pan yn cael ei gweinyddu yn ysbryd, ac yn ol esiamplau yr eglwys

apostolaidd, yn gosod y dysgybledig yn agored i ganlyniadau ysbrydol y dylai pob calon arswydo rhagddynt. Y mae y cyfnewidiad a deimlodd miloedd wedi eu trosglwyddiad i diriogaeth Satan, gan gyfeillion Crist, wedi bod yn chwerwach nag angeu.

III. FOD Y DRYGEDD A ACHOSIR GAN SATAN I GYRPH AC AMGYLCHIADAU DYNION YN CAEL EI FWRIADU GAN DDUW ER EU HIACHAWDWRIAETH. Dyma yr amcan, "Fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig yn nydd Crist." Mor wahanol ydyw amcan diarddeliad yr eglwys apostolaidd i esgymundod yr eglwys Babaidd! Y mae Paul yn rhoddi Hymeneus ac Alexander i Satan oblegid iddynt wneyd llongddrylliad o'r ffydd; nid er iddynt gael eu hadnabod gan yr holl fyd crefyddol fel dynion wedi eu damnio, eithr "fel y dysgent na chablent." (1 Tim. i. 20.) Yr oedd llawer o aelodau yr eglwys yn Corinth yn weiniaid ac yn llesg, a rhai yn clafychu cymaint nes *huno*, a hyny oblegid eu camddefnydd o'r swper sanctaidd; ond dygid yr holl drallodion ceryddol hyn arnynt, nid er difodi ei henwau o lyfr y bywyd, yn hytrach rhag iddynt gael eu *damnio gyda'r byd.* (1 Cor. xi. 32.) Yr oedd trugaredd yn cysgodi y tu ol i'r farn. Traddodwyd y dyn ieuanc yn Corinth i Satan, nid er, fel y dywed "olynwyr yr apostolion" am y rhai a esgymunir ganddynt hwy, "er eu gwerthu yn gaethion i ddiafol i wneuthur ei ewyllys," ond "fel y byddo ei ysbryd yr gadwedig yn nydd Crist." Yn achos y Corinthiad, dylynwyd y traddodiad ag adferiad. Ni fu y cerydd yn ofer; tristaodd ei enaid dan bwysau y wialen; ymostyngodd ei galon mewn edifeirwch; gwelodd fawredd ei ddrwg, ac edifarhaodd; aeth mor

drist, fel y gwelodd yr Apostol berygl iddo gael ei lyncu i fyny gan ormod tristwch. Rhag i hyny ddygwydd, y mae yn anfon at yr eglwys i gyhoeddi ei fod ef yn maddeu i'r troseddwr; yn dymuno ar i'r holl frawdoliaeth faddeu iddo, ac mai eu dyledswydd ydoedd prysuro i'w adfer i deyrnas Mab Duw. "Fel na'n siomer gan Satan: canys nid ydym heb wybod ei ddichellion ef." (2 Cor. ii. 1–11. Goruwch-reolwyd poenydiau Satan er rhwystro y dyn i ddamnio ei hunan; ac y mae ei adferiad llwyr ef yn dangos y posiblrwydd o adferiad pob person diarddeledig arall.



## AWDURDOD AR EI PHEN, O HERWYDD YR ANGELION.

"Am hyny y dylai y wraig fod ganddi awdurdod ar ei phen, o herwydd yr angelion.—1 Cor. xi. 10.

"For this cause ought the woman to have a sign of authority on her head, because of the angels.—*Cyfieithiad Diwygiedig.*

Wedi darllen yr adnod hon, a dechreu myfyrio arni, nid ydym yn rhyfeddu fod rhai, megys John Locke, wedi ei chyhoeddi yn anesboniadwy. Nid ydyw yn syndod, ychwaith, fod cynifer o oreugwyr y byd beirniadol wedi eu tueddu i ysgrifenu arni, oblegid yn maes ei anhawsderau cynygir cyfleustra parhaus i gyflawni gorchest. A pheth dysgwyliadwy hefyd ydyw fod ymadrodd mor dywyll wedi cynyrchu lluaws o groes-olygiadau, yn mysg y rhai, modd bynag, y mae cryn wahaniaeth mewn eglurder a rhesymoldeb.

Dichon fod yr

YMHOLIADAU

canlynol yn cynwys y trychwiliad priodolaf i ddirgelion y geiriau: Pa beth ydyw ystyr y gair a gyfieithir yma yn "awdurdod"? Pwy ydyw y "pen" y mae yr awdurdod i gael ei harfer drosto? Pa beth yn arbenig a wnelai ddefnyddiad y gyfryw awdurdod ar y pen yn ddyledus yn yr addoliadau cyhoeddus? Pwy ydyw yr "angelion" y tybir eu bod yn sylwedyddion ar benwisgiad y gwragedd? Pa un ai bodau dynol, neu fodau nefol ydyw yr angelion hyn?

Mewn trefn i daflu goleu ar y cwestiynau hyn, nis gall lai na bod yn anhebgorol i daflu golwg fer ar y cyd-destynau, a cheisio deall perthynas syniad y testyn â'r ymresymiad sydd ynddynt. Amcan y benod hon, megys y mwyafrif mawr o benodau y llythyr hwn, yw galw sylw yr eglwys yn Corinth at yr arferion afreolaidd oedd yn mysg ei haelodau, a hyny er dwyn oddiamgylch ddiwygiad. Crybwyllir yn y benod hon ddau afreoleidd-dra, y naill yn dal perthynas a'r gwragedd, y llall yn dal perthynas a'r gwyr. Cyfeiliornad y gwyr ydoedd defnyddio bwrdd yr Arglwydd yn gyfleustra i lythineb, ac nid yn ddrych i weled ynddo Grist croeshoeliedig. (Gwel o'r 20fed adn. hyd ddiwedd y benod.) Cyfeiliornad y gwragedd ydoedd camddefnyddio eu cydraddoldeb ysbrydol, a thrwy hyny aberthu gweddeidd-dra eu rhyw, a dylanwad eu crefydd. (Gwel o'r adn. 1af hyd yr 20fed.) Yr ydoedd yr apostol wedi eu dysgu yn flaenorol, a hyny yn y modd mwyaf hyf a dealladwy, fod Cristionogaeth yn diddymu pob gwa-

haniaeth cenedlaethol, cymdeithasol, a rhywogaethol, ac nad oedd "yn Nghrist nag Iuddew na Groegwr, caeth na rhydd, *gwryw na benyw.*" Yr oedd y fath ddysgeidiaeth, nid yn unig yn hollol newydd ar y ddaear, ond yn eithriadol dderbyniol gan wragedd ag yr oedd syniadaeth a defion oesau wedi eu cau dan orthrwm is-raddoliaeth. Dechreuodd y gwragedd, pan ond megys newydd ymddadebru, ymresymu fel hyn: Os ydym yn gydradd â dynion yn ein naturiaethau ysbrydol, yn ein rhagorfreintiau crefyddol, ac yn neillduol yn ein cyfrifoldeb diweddol, yna rhaid ein bod yn gydradd â hwy hefyd yn ein hawliau dinesig, yn y cylchoedd teuluaidd, yn ogystal ag yn yr addoliadau cyhoeddus. Wrth ymresymu yn eithafol, daethant i gredu fod cydraddoldeb yn Nghrist yn gyfystyr â chydraddoldeb yn y teulu. Yn yr iachawdwriaeth, atebai Paul, y mae y wraig yn hollol ogyfuwch â'r gwr, ond yn y gyfundrefn deuluaidd, y mae y wraig yn parhau yn ymddibynol ac is-wasanaethgar; ac nid ydyw crefydd yn gofyn ganddi, yn hytrach yn gwahardd, taflu ymaith arwyddion cyffredin ei hymddibyniaeth. Yr arwyddlun arferedig o wyleidd-dra ac ymostyngiad gwragedd i lywodraeth eu gwyr, ydoedd gorchudd ar eu penau. Yn gytunol â hyn y dywedir am Rebeccah, pan ddyrchafodd ei llygaid ac y gwelodd Isaac, ei gwr dyfodol, yn dyfod o gyfeiriad pydew Lahairoi, "a hi a gymerth orchudd, ac a ymwisgodd." Yn wir, y mae gorchudd hyd y dydd hwn yn y Dwyrain, yn arwyddnod ymddarostyngiad priodasol; ac hyd yn nod yn mysg y Rhufeiniaid, yr oedd y briodasferch, ar ddydd ei phriodas, yn dodi gorchudd ar ei phen, ac yn y

weithred hono datganai ei bod yn aberthu ei hawliau dinesig ar yr allor briodasol. Yn credu eu bod o hyny allan yn gydradd a'r gwyr yn mhob golygiad, darfu i rai o wragedd Corinth ymafael yn y dyledswyddau ag oedd yn disgyn yn naturiol i ran y gwyr. Dechreuasant bregethu yr efengyl, a thrwy hyny esgeuluso eu dyledswyddau teuluaidd. Yn cael eu cario yn mlaen dan ddylanwad gorfoledd yr un rhydd-freiniad, taflasant ymaith y gorchudd oddiar eu penau fel nod diangenrhaid o is-raddoliaeth. Yn dylyn yr un linell o ymhongarwch, dechreuasant drachefn dori eu gwalltau yn fyrion, a thrwy hyny daethant yn debyg i ferched anllad y wlad. Awyddent am fod yn debyg i'w gwyr mewn ymddangosiad a gwisg. Canlyniad naturiol hyn oll ydoedd, fod y byd y tu allan yn cablu, a'r eglwys y tu fewn yn ymranedig. Daeth eglwys Iesu Grist i'w hadnabod fel cymdeithas o bobl amddifad o syniad am hunan-barch a gweddeidd-dra; ac i'r graddau yr oedd cymeriad yr eglwys wedi ei beryglu, i'r graddau hyny yr oedd perygl i grefydd Crist ddyoddef yn syniadau y Corinthiaid. Yn y paragraph hwn, dug yr Apostol yn mlaen dri o resymau paham y dylai y gwragedd barhau i wisgo y gorchudd fel arwydd-nod o awdurdod y gwyr drostynt.

(*a.*) *Y mae cyfansoddiad yr hanfod Ddwyfol yn cynwys rhag-gynllun o uwchafiaeth ac is-raddoliaeth.* "Eithr mi a fynwn i chwi wybod, mai pen pob gwr yw Crist; a phen y wraig yw y gwr; a phen Crist yw Duw." (Adn. 3.) Gwelir felly

Mai Duw ydyw pen Iesu Grist.
Mai Iesu Grist ydyw pen pob gwr.
Mai y gwr ydyw pen y wraig.

Y mae penogaeth Duw Dad yn cynwys is-raddoliaeth Iesu Grist. Y mae penogaeth Iesu Grist yn cynwys is-raddoliaeth pob gwr. Felly hefyd, am yr un rhesymau, y mae penogaeth pob gwr yn cynwys is-raddoliaeth pob gwraig. Yn y drefn gyfryngol, holl amcan Iesu Grist ydyw gwasanaethu ei Dad; yn y deyrnas ysbrydol, holl amcan credadyn ydyw gwasanaethu Iesu Grist; ac yn y gyfundrefn deuluaidd, holl amcan y wraig ydyw gwasanaethu ei gwr. Y fath ymresymiad gorchestol! Y fath weslediad eangfawr o weithrediadau deddf awdurdod ac ymostyngiad drwy holl gylchoedd creadigaeth, i fyny at y Duwdod!!

(*b.*) *Y mae dullweddau creadigaeth y gwr a'r wraig, ar y dechreu, yn rhagdybio gwahaniaeth yn eu safleoedd yn y cyfangorph dynol.* (Gwel adnodau 7, 8, a 9.) Gellir dodi y ffeithiau mewn deuawdau cydredol, fel hyn:

Allan o Dduw y cymerwyd dyn.
Allan o ddyn y cymerwyd y wraig.

Ar ddelw Duw y gwnaethpwyd dyn.
Ar ddelw dyn y gwnaethpwyd y wraig.

Y mae dyn yn adlewyrchiad o ogoniant Duw.
Y mae y wraig yn adlewyrchiad o ogoniant dyn.

Er mwyn Duw y crewyd dyn.
Er mwyn dyn y crewyd y wraig.

Y mae yn nghreadigaeth y rhywiau ar y dechreu, felly, awgrymau dwyfol am safleoedd cymharol gwr a gwraig.

(*c.*) *Y mae angelion y nefoedd yn derbyn hyfryd-*

*wch wrth ganfod gwragedd Cristionogol yn syrthio i drefn y cread, ac yn gweithredu yn ol deddf eu creadigaeth.* "Am hyny y dylai y wraig fod ganddi awdurdod ar ei phen, *o herwydd yr angelion.*" Gwelir felly mai ein syniad ydyw, fod Paul, yn yr adnod ddyrys hon, yn cymell y gwragedd i wisgo y gorchudd am ddau reswm, sef, oblegid ei fod yn arwyddnod o'r perthynas is-raddol â dyn, ac hefyd oblegid fod ei gadwraeth yn ychwanegu at drefn ac urddas yr addoliadau crefyddol, ac felly yn rhoddi boddlonrwydd i'r angelion yn eu hymweliadau â chynulliadau y saint.

I. Dylid gwisgo y gorchudd oblegid ei fod yr arwyddnod o berthynas is-raddol y wraig i'w gwr. Y mae ein deongliad yn gwneyd ymaith, felly, a'r dyb

(*a.*) *Mai ystyr y gair awdurdod ydyw gorchudd* (*veil*). Rhyw dair ffordd y mae esbonwyr wedi arfer fabwysiadu i fyned *dros* anhawsderau pan yn methu myned *drwyddynt* yn ol rheolau teg deongliadaeth. Un ffordd ydyw cyfnewid y gwreiddiol o'r geiriau cyfieithieig. Ffordd arall ydyw haeru fod yn rhaid fod rhyw ad-ysgrifenwr o'r copiau gwreiddiol wedi gwneyd cyfnewidiad anghyfreithlon; a'r ffordd arall ydyw, pan yn methu cael engraifft gyffelyb o'r hyn y dadleuir drosto yn y lenyddiaeth Roegaidd, dadleu fod yr eithriad y sylwir arno yn cynwys tafodiaith dalaethol (*provincialism*). Y mae y frawddeg hon wedi bod dan ddwylaw y tri dosbarth hyn. Dywed y cyntaf fod y gair a gyfieithir yma yn awdurdod, yn gyfystyr â gair arall a gyfieithir yn orchudd. Dywed yr ail ddosbarth ddarfod i ryw ad-ysgrifenwr, wrth deimlo fod y gair gorchudd yn lle goleuo yr ymadrodd, yn ei

dywyllu, osod y gair awdurdod yn ei le; a dywed y trydydd dosbarth mai gair arferedig yn nhalaeth Cilicia am orchudd ydyw y gair a gyfieithir yma yn awdurdod, er y cydnabyddir mai awdurdod ydyw ei ystyr yn mhob lle a chysylltiad arall. Y mae yr holl dybiau hyn yn amddifad o brawfion, a dylent gael eu taflu yn nghyd i lanastr-ystafell y byd deongliadol. Awdurdod ydyw y gair yn y llawysgrifau mwyaf henafol; awdurdod ydyw y gair a geir yn y copïau mwyaf cydnabyddedig, ac awdurdod ydyw ystyr arferedig a dealledig y gair yn mhob man arall. Mae ein heglurhad yn milwrio yn erbyn y dyb

(*b.*) *Mai drwy wisgo gorchudd a gwallt llaes y mae y wraig yn enill fwyaf o ddylanwad dros ei gwr, fel ei phen.* Dadleua rhai, ac yn eu mysg y Parch. S. Cox, Nottingham, Lloegr, fod deddf dyrchafiad yn meddwl yr Apostol yma. Fod is-raddoliaeth y wraig yn cael ei gydnabod, mai gweinidoges dyn ydyw, ond fod yn ddichonadwy iddi enill cymaint o ddylanwad arno, nes dyfod yn awdurdod anymwybyddol drosto; ac ymdrechir dangos rhesymoldeb y dyb hon gan y ffaith mai y gwragedd goreu ydynt y rhai ag y mae eu gwyr yn hollol dan eu dylanwad. Ac ymresymir yn mhellach, fod gorchudd, ac yn enwedig gwallt llaes, gan wraig erioed, ac yn parhau, i gael eu teimlo yn ffynonellau nerth, a phrydferthwch anianyddol. Pe mai ysgrifenu, fuasai yr Apostol, ar awdurdod y wraig ar y gwr, yn y cyd-destynau, buasai rhyw reswm yn y fath amcaniaeth, ond gan y cydnebydd pawb mai y pwnc ydyw awdurdod y gwr ar y wraig, nid oes genym ond rhyfeddu fod neb wedi synied felly am ddysgeid-

iaeth y geiriau. Ymddengys i ni fod yr hen gyfieithwyr wedi taro ar synwyr y frawddeg, a'u bod am i eraill ei ganfod pan yn dodi y geiriau eglurhaol canlynol ar fin y ddalen, gyferbyn a'r gair awdurdod: "hyny ydyw, gorchudd, yn arwydd ei bod dan awdurdod ei gwr." Ac y mae yr hyn a osodwyd ar ymyl y ddalen gan yr hen gyfieithwyr, mewn ffordd ferach, fel y gwelir uchod, i fewn yn y testyn gan y cyfieithwyr diweddaraf. Yn ychwanegol at y cyfieithwyr, y mae mwyafrif esbonwyr hen a diweddar, yn hawlio i'r frawddeg yr ystyr a fabwysiadwn. Gellir nodi Tertullian, Chrysostom, Theodoret, a Theophylact, yn mysg y tadau; Calvin, Luther, a Beza, yn mysg y diwygwyr; Bengel, Neander, Ewald, Cremer, Olshausen, DeWette, a Meyer, yn mysg y Germaniaid; a Doddridge, Whitby, Macknight, Conybeare, Alford, Stanley, Lias, Farrar, Wordsworth, a Gloag yn mysg y Saeson.

II. Dylid gwisgo y gorchudd oblegid y mae hyny yn gymeradwy gan angelion y nefoedd. Teimlwn fod mwy o anhawsder i ddangos rhesymoldeb y gosodiad hwn na'r cyntaf, ond ymddengys yn dwyn mwy o debygolrwydd i wirionedd nag un o'r esboniadau lluosog sydd wedi eu cynyg mewn gwahanol gyfnodau. Y mae awdurdodau uchel, modd bynag, yn gweled yn y frawddeg feddylddrychau eraill. Nodwn rai o honynt.

1. *Mai wrth yr angelion yma dylid deall angelion gwarcheidiol y saint.* Dyma farn Theophylact, Jerome, Theodoret, &c.

2. *Mai wrth yr angelion y golygai Paul esgobion ac henuriaid yr eglwysi.* Y mae dau wrthwynebiad

tra phwysig i'r farn hon: (*a.*) Os caniateir fod Ioan yn galw esgobion yr eglwysi yn angelion, ac y mae hyny yn dra amheus, nid ydyw yr apostol Paul yn gosod y fath enw arnynt gymaint ag unwaith yn ei holl epistolau; a chan nad ydyw yn gwneyd hyny o gwbl yn un man arall, y mae yn hynod annhebyg, a a dweyd y lleiaf, ei fod yn gwneyd hyny yn y fan hon. (*b.*) Y mae y fath feddylddrych yn wrthun a diraddiol. Awgryma y buasai gwragedd heb orchudd yn y gynulleidfa, naill ai yn tynu sylw, neu, yn wir, yr hyn sydd lawer gwaeth, yn deffroi serchiadau cnawdol yn y rhai difrifolaf, henaf, a sancteiddiaf yn yr eglwysi, sef eu prophwydi!!

3. *Mai cyfeiriad sydd yma at y cenadon a anfonid yn ysbiwyr gan y paganiaid i gyfarfod yr eglwys yn Corinth.* Seiliau y dybiaeth hon ydynt a ganlyn: (*a.*) Fod y gair angel yn dynodi cenad. (*b.*) Fod yr un gair yn cael ei ddefnyddio pan yr adroddir am yr ysbiwyr a anfonwyd gynt gan Josua i Jerico. (Josua vi. 23.) (*c.*) Fod Tertullian, yn ei ysgrifeniadau, yn darlunio y modd yr ymwelid â chyfarfodydd y saint gan genadon oddiwrth y paganiaid, er beirniadu eu gweithrediadau. Honir felly mai meddwl yr Apostol, mewn arall-eiriad, ydyw a ganlyn: "Gwisged y gwragedd bob amser orchudd ar eu penau, oblegid bydd y gwyriad lleiaf oddiwrth reolau gweddeidd-dra, yn cael ei wneyd yn achlysur cabldraeth gan y rhai ydynt genadon cyngorau gelynol i'ch mysg." Adeiladwaith lled gadarn ydyw hon, ac y mae yn cael ei chymeradwyo gan ysgolheigion Beiblaidd o gryn bwys, megys Rosenmuller, Shrader, Valpy, Dr. Gloag, &c.; ond y mae un

ffaith yn ei dymchwel, a hono ydyw, fod y gair angelion, yn aneithriadol, pan yn ei ffurf annibynol (*absolute*), yn golygu angelion sanctaidd y nefoedd, ac nid oes dim yn y cyd-destynau yn hawlio unrhyw ystyr eithriadol.

4. *Mai y syniad ydyw, gan fod yr angelion eu hunain yn cuddio eu hwynebau* (Esaiah vi. 2) *yn mhresenoldeb Duw, er cydnabod ei uwchraddoliaeth ef, felly eu bod yn teimlo yn foddhaus wrth weled y wraig yn gwisgo gorchudd yn gydnabyddiaeth o uwchraddoliaeth dyn arni hithau.* Y mae y farn hon yn adlewyrchiad o athrylith gywrain y dysgedig Bengel, ond yn sicr y mae yn nodedig o bellafol ac anmherthynasol.

5. *Mai cyfeiriad sydd yma at y dybiaeth Iuddewig fod yn ddichonadwy i'r angelion gael eu temtio i drythyllwch gan ymddangosiad diorchudd gwragedd.* Yr oedd yn grediniaeth yn mysg yr Iuddewon, ac yn mysg y tadau boreuol ar eu hol hwy, mai y rheswm o gwymp un ran o'r angelion ydoedd eu chwenychiad am gyfathrach bechadurus â merched dynion. Sylfaenwyd y grediniaeth annaturiol hono ar Gen. vi. 2. "Weled o feibion Duw ferched dynion mai teg oeddynt hwy, a hwy a gymerasant wragedd o'r rhai oll a ddewisasant." Dadleuir yn mhellach mai "*angelion* Duw" ydyw y cyflead o "*feibion* Duw" yn yr argraffiad Alexandraidd o'r Deg-a-thri-ugain, ac fod defnydd helaeth yn cael ei wneyd o'r dybiaeth yn llyfr Apocryphaidd Enoch, llyfr, gyda llaw, yr haerir fod apostolion eraill yn ei gydnabod drwy ddyfynu o hono. Yn ol Tertullian, Deon Stanley, Farrar, &c., y mae yr Apostol yn y geiriau hyn yn cymell y gwragedd

yn Nghorinth, rhag i drychineb gyffelyb ddygwydd eto, i wisgo gorchudd! Cyn y gallwn dderbyn y fath esboniad, rhaid i ni gredu y pethau canlynol: Y gall gwraig roddi temtasiwn i angelion, neu y gall angelion demtio gwraig; fod Apostol y Cenedloedd yn rhoddi sêl ei gydsyniad wrth un o chwedlau mwyaf anhygoel y Rabbiniaid, ac fod yr hanesiaeth Feiblaidd am safle gyntefig, ac achlysur cwymp yr angelion, yn gamarweiniol. Na, credwn fod hyn oll yn drais ar synwyr cyffredin, ac yn gwbl annheilwng o dderbyniad. Yr ydym yn cael ein cadarnhau yn y grediniaeth mai cymelliad ydyw y frawddeg i wisgiad y gorchudd, o herwydd y boddlonrwydd a dderbynia angelion sanctaidd wrth weled canlynwyr eu Brenin yn ymddwyn yn weddaidd ac urddasol, gan yr ystyriaethau canlynol:

(1.) Y mae yr angelion yn cael eu cynrychioli fel yn teimlo dyddordeb angerddol yn symudiadau y ddaear, ac yn neillduol yn eu cynulliadau addolgar. Gwel Salm cxxxviii. 1; Preg. v. 6; Luc xv. 10; 1 Tim. v. 21.

(2.) Y mae yr angelion, o angenrheidrwydd, yn derbyn hyfrydwch oddiwrth agweddiad teilwng cyd-addolwyr.

(3.) Y mae y ffaith fod angelion y nefoedd yn bresenol, ac yn wyliedyddion manwl, yn rheswm nodedig o gryf dros arfer pob gochelgarwch yn nhy Dduw.

Pwy, tra yn ymwybodol fod llygaid un o weision yr orsedd arno, nad ymddygai yn llednais, yn ostyngedig, ac yn weddaidd?

Mor ddiolchgar y dylem fod am grefydd Iesu Grist! Rhodda hi ei safle berthynasol briodol i'r gwr ac i'r

wraig, a chyfarwydda y ddau pa fodd i sugno y swm mwyaf o ddedwyddwch oddiwrth eu gilydd.

Mor ddiolchgar y dylem fod am grefydd Iesu Grist! Y mae ei dysgeidiaeth hi yn ein dylyn ar hyd llwybrau bywyd cyffredin, ac yn garedig dysga ni yn nghylch bwydydd, diodydd a gwisgoedd.

Mor ddiolchgar y dylem fod am grefydd Iesu Grist! Y mae yn ymostwng drwy ymresymiad tyner, ac nid drwy orchymyn bygythiol. Gelwir sylw y byd at bwysigrwydd hyd yn nod ymddangosiadau. Yn ei goleu hi y gwelwn fod hyd yn nod penwisgiad yn cario dylanwad ar y greadigaeth angelaidd!

---

## BEDYDDIO DROS Y MEIRW.

"Os amgen, beth a wna y rhai a fedyddir dros y meirw, os y meirw ni chyfodir ddim? paham, ynte, y bedyddir hwy dros y meirw?—1 Cor. xv. 29.

Hyderwn y cenfydd y darllenydd, yn ein hysgrif, atebion uniongyrchol, neu anuniongyrchol, i'r

YMHOLIADAU

canlynol: Pa un ai ystyr lythyrenol, neu ynte ystyr allegol, ddylid roddi i eiriau yr adnod? Yn mha fodd y gwasanaetha y cyfeiriad at fedydd yn gadarnhad i'r prawf o adgyfodiad? Pwy ydynt y meirw y dywedir fod eraill yn cael eu bedyddio drostynt?

Dau hanfod mawr deall yr adnod hon ydyw deall ystyr y geiriau a geir ynddi, a deall ei pherthynas â'r

cyd-destynau. Y mae yn rhaid i unrhyw eglurhad a gynygir arni, gyfagweddu a'r eiriadaeth a ddefnyddir, ac ar yr un pryd, dwyn gydag ef yr argyhoeddiad ei fod yn berffaith gyson ag ymresymiad yr Apostol, yr ymresymiad a brofa wirioneddolrwydd yr adgyfodiad. Y mae lluaws mawr o esboniadau gwahanol wedi eu cynyg ar yr adnod, ond y mae y mwyafrif mawr yn gwrthdaro naill ai yn erbyn ystyr y geiriau a geir ynddi, neu ynte yn estronol i linell yr ymresymiad. Fel engreifftiau o ddiffyg sylw bwriadol, neu anfwriadol, i ystyr y geiriau, a'r diffyg hwnw yn arwain i gamddeongliad, y mae y rhai canlynol yn dra theilwng o sylw:

Y mae dynion drwy roddi i'r gair *dros* sydd yn dygwydd ddwywaith yn y testyn, ystyr leol ac eithriadol, yn priodoli i'r Apostol gyfeiriad at ddulliau o fedyddio, naill ai nas gwyddai am danynt, neu ynte pe yn gwybod, na fuasai yn eu hanrhydeddu drwy wneyd crybwylliad o honynt. Yn rhoddi synwyr lleol i'r gair *dros*, sef gosod un peth uwchlaw, neu i orchuddio y llall, y mae duwinyddion fel Luther, Ewald, &c., yn haeru mai cyfeirio y mae yr Apostol yma at yr arferiad o fedyddio dychweledigion at grefydd uwchben beddau y rhai a ferthyrwyd dros y gwirionedd. Y mae yn ddiau mai cysylltu â'r gair y meddylddrych cyfyng a dyeithr yna barodd ddechreuad taenellu cyrph y rhai byw ar gyrph y rhai meirw. Yn anaml, mae yn wir, y gwneir hyny yn yr oes hon. Ymddengys fod gwareiddiad a synwyr da yn gwthio yr arferiad oddiar y ffordd i feddrod ofergoeliaeth y cynoesau, ond tra y bu mewn bri, nid oedd ganddo i'w gynal ond syniad

cyfeiliornus am ystyr y gair *dros.* Y mae hwn yn air sydd yn dygwydd yn dra mynych yn y Testament Newydd, a phob amser golyga, nid *dros* yn yr ystyr o un gwrthddrych yn uwch na gwrthddrych arall, yn hytrach, "*er mwyn,*" "*ar ran,*" neu rywbeth cyffelyb. Nodwn rai engreifftiau: "Ac *er eu mwyn* hwy yr wyf yn fy sancteiddio fy hun, fel y byddont hwythau wedi eu sancteiddio yn y gwirionedd." (Ioan xvii. 19.) "Trwy yr hwn y derbyniasom ras ac apostoliaeth, i ufudd-dod ffydd yn mhlith yr holl genedloedd, *er mwyn* ei enw ef." (Rhuf. i. 5.) "Canys i chwi y rhoddwyd, bod i chwi er Crist, nid yn unig gredu ynddo ef, ond hefyd ddyoddef *erddo* ef." (Phil. i. 29.) "Yr hyn sydd argoel goleu o gyfiawn farn Duw fel y'ch cyfrifer yn deilwng i deyrnas Dduw, *er mwyn* yr hwn yr ydych hefyd yn goddef." (2 Thess. i. 5.) "Yr ydym yn erfyn *dros* Grist, Cymoder chwi a Duw." (2 Cor. v. 20.) "Yr hwn yr oeddwn i yn ewyllysio ei ddal gyda mi, fel *drosot* ti y gwasanaethai efe fi yn rhwymau yr efengyl." (Philemon 13.) Afreidiol ychwanegu rhagor o engreifftiau, yn enwedig pan yr ydym yn gallu gwneyd y gosodiad fod y gair yn ddieithriad yn golygu gweithred yn cael ei chyflawni er mwyn person arall, ac yn terfynu yn hwnw. Y mae hyn ar unwaith yn gwneyd ymaith a synwyr lleol y gair, ac hefyd yn rhyddhau Apostol y Cenedloedd oddiwrth yr amheuaeth anffafriol iddo ei fod yn nawddogi, drwy grybwylliad, ddefod ofergoelus a disynwyr. Rhagor na hyny, y mae yn dra sicr nad ydoedd yr arferiad o daenellu y byw dros fedd y marw wedi dechreu mor foreu ag oes yr apostol Paul. Mewn cyfeiriad at y

traddodiad hwn, dywed Dr. Eadie yn ei "Bible Cyclopedia," "Ond arferiad diweddarach na'r oes apostolaidd oedd hwn, anadnabyddus yn y ganrif gyntaf." Ac y mae esgob dysgedig New Jersey, a gogledd New Jersey, Dr. Odenheimar, yn ei gyfrol pregethau, yn tystiolaethu yn gyffelyb, "Fod y fath arferiad, meddai, *ar ol* dyddiau yr apostolion, a bedyddio person byw dros gorph marw, a ganiateir yn rhwydd, oblegid y mae hanesiaeth yn ei brofi, ond fod unrhyw arferiad o'r fath yn bodoli *yn* nyddiau yr apostolion, sydd heb ei brofi, ac nis gellir byth ychwaith. Gellir yn hawdd cyfrif am yr arferiad mewn dyddiau diweddar, oblegid gall geiriau yr Apostol yn y testyn fod wedi eu gwyrdroi fel awdurdod dros y fath arferiad." Gallwn ddyfynu llu ag ydynt yr un farn a'r ddau wyr hyn. Achlysurodd camddeongliad ychwanegol o'r gair *dros* fodolaeth cyfeiliornad arall a fu yn blino eglwys Dduw, ac ar lawer golygiad y mae yn gyffelyb, ond er hyny yn wahanol, i'r un a enwyd eisoes, a gelwir ef *bedydd dirprwyol.* Y mae yn fwy na thebyg fod hereticiad, megys y Marconiaid, ac eraill, yn bur foreu, yn arfer y gyfryw ddefod, ond ni bu erioed mewn arferiad yn mysg dysgyblion uniawngred Iesu Grist. Trefn ei weinyddiad ydoedd fel y canlyn: Pan fuasai dyn crediniol, ond anfedyddiedig, farw, gweinyddid y peth a elwid yn fedydd ar un arall crediniol, yn ei le, a thrwy hyny meddylid y buasai y marw yn osgoi y gosb ddyledus am anufudd-dod, yn yr adgyfodiad. Ac yr oedd dull y gweinyddiad yn ddigrifol. Gosodid y marw ar y gwely, a gorweddai y byw o dan y gwely. Gofynid i'r *marw* a ewyllysiai efe gael ei fedyddio; a chan,

wrth gwrs, nad allai ateb, atebid drosto yn gadarnhaol gan y byw, o dan y gwely, ac fel canlyniad, bedyddid ef yn lle y marw. Y mae ysgolheigion fel Winer, Billroth, Meyer, DeWette, Conybeare, a Stanley, yn tybio mai cyfeirio y mae Paul at yr ofergoeliaeth druenus yna, er fod rhai o honynt, mae yn wir, yn gofalu dweyd nad ydyw y crybwylliad yn golygu cymeradwyaeth apostolaidd, yn unig ei gydnabod fel cyfeiliornad adnabyddus. Pob parch i'r fath ysgolheigion, ond nis gallwn gredu fod Paul yn defnyddio y fath gyfeiliornad ofnadwy yn rhesymeg dros adgyfodiad y meirw. Ac heblaw hyny, y mae y fath ffiloreg mor groes i holl ysbryd crefydd Crist, fel nas gallwn gredu y buasai yr Apostol yn ei chyfodi i sylw, neu ynte, os y buasai yn gwneyd, nas gallasai fyned yn mlaen heb aros i arllwys geiriau condemniol arno. Na, y mae yn hawddach gan synwyr cyffredin diduedd gredu geiriau pwysleisiol y Parch. Frederick Robertson, pan ddywed, "Y mae annhebygolrwydd annherfynol y buasai Paul yn cynal i fyny ofergoeledd mor ddirmygedig, hyd yn nod drwy gyfeirio ato. Nis gallasai efe gymaint a chyfeirio ato ond gyda digllonedd."

Rhag ymhelaethiad, gwasanaethed yr uchod fel arddangosiad o gyfeiliornadau eraill sydd wedi ymgodi o egluriadau anmhriodol o eiryddiaeth yr adnod; a gall y meddylgar, fel y byddo galw am hyny, gymwyso cywiriad cyffelyb at y rhai hyny.

Y mae eraill, drachefn, wrth geisio egluro meddwl dau ofyniad y testyn, tra yn rhoddi i'r geiriau ystyron priodol, eto yn myned ar gyfeiliorn drwy roddi i'r holl adnod ystyr yr hwn nis gall wasanaethu y pwnc mawr

oedd gan Paul, sef profi adgyfodiad y meirw. Y mae eu deongliad yn hollol estronol i rediad yr ymresymiad. Rhoddwn, drachefn, esiamplau yn unig o'r esboniadau hyn. Y cyntaf,

Fod Paul yn cyfeirio at y paganiaid hyny a ddeuent yn mlaen yn ymgeiswyr am fedydd, oblegid fod y grefydd Gristionogol yn dysgu ad-uniad wedi y gwasgariad yn angeu.

Rhagoriaeth fawr crefydd Iesu Grist ydoedd, ac ydyw, fod ei llewyrch yn ymdaflu i'r dyfodol; a diffyg mawr y crefyddau paganaidd ydoedd, ac ydyw, fod eu canwyllau yn diffodd yn nghorwyntoedd y glyn. Y dybiaeth, o ganlyniad, ydyw, fod y paganiaid wedi hoffi athrawiaeth yr ail-gyfarfyddiad, yn dyfod yn mlaen, gan ddymuno cael eu bedyddio i'r ffydd newydd. Pe mai amcan yr Apostol yn y benod orchestol fuasai profi y bydd dynion yn ail-gyfarfod, yn adnabod ac yn mwynhau eu gilydd yn yr ail-gyfarfyddiad, buasai rhyw gysgod o sail i'r fath haeriad; ond gan mai profi mae yr Apostol, nid y bydd *ail-gyfarfyddiad*, ond y bydd *adgyfodiad*, yr ydym yn gweled yr esbonwyr a Phaul yn ymwahanu oddiwrth eu gilydd. Yr ail dybiaeth,

Fod Paul yn cyfeirio at y bobl hyny a ohirient dderbyn bedydd hyd awr angeu. Mai ystyr y gofyniadau apostolaidd ydyw: "Pa fantais a ga y rhai a fedyddir yn ymyl angeu, os na fydd i'r meirw gyfodi?"

Diau ddarfod i lawer heblaw Cystenyn, naill ai o herwydd y grediniaeth yn ngallu ail-enedigol bedydd, neu ynte, dan ddylanwad yr ofn o fethu ymddwyn yn

deilwng o hono, a'i ymrwymiadau, ohirio eu bedyddiad hyd yr awr olaf.

Yn cyfeiliorni am natur bedydd, y mae rhai yn ei weinyddu wrth borth angeu, tra eraill yn brysio i'w weinyddu wrth borth y geni; ac y mae yr eglwys Babaidd yn myned yn mhellach; dywed fod hawl gan ei hoffeiriaid hi i drosglwyddo i feddyg yr awdurdod i daenellu y plentyn yn y groth, os bydd perygl am ei einioes, cyn ei eni!! Y mae un frawddeg yn ddigonol fel atebiad i'r rhai a goleddant y cyfeiliornad rhag-soniedig, sef mai nid cyfeirio y mae yr Apostol at y rhai sydd ar *fin marw*, ond at y dyrfa sydd wedi myned trwy byrth marwolaeth, ac at weithed a gyflawnir fel arwyddocad o'u hadgyfodiad yn y dydd a ddaw.

Ymddengys i ni fod y ddwy osodaeth ganlynol yn gorwedd yn mynwes yr adnod, ac yn ddyhysbyddol o honi:

I. FOD PERTHYNAS GREDINIOL RHWNG Y RHAI BEDYDDIEDIG AG ADGYFODIAD Y MEIRW. Y berthynas hon oedd yn meddwl yr Apostol pan y gofynai, "Os amgen, *beth a wna y rhai a fedyddir* dros y meirw?" Yr oedd y rhai bedyddiedig, yn yr oes apostolaidd, yn gwneyd tri pheth.

(1.) *Yn arddangos eu ffydd yn Nghrist, a chrediniaeth yn ei holl addewidion.* Nid yn unig credent yn mherson Crist, ond hefyd derbynient ei holl addewidion i'w ganlynwyr fel gwirionedd. Un o addewidion melusaf y Gwaredwr i'r rhai a ddeuent yn ddysgyblion iddo, ydyw, adgyfodiad yn y dydd diweddaf. (Ioan vi. 54.)

(2.) *Yn arddangos eu crediniaeth yn marwolaeth,*

*claddedigaeth, ac adgyfodiad Iesu Grist.* Er nad oes neb yn amheu hyn, eto gwneir ef yn weladwy yn y sylwadau sydd yn dylyn.

(3.) *Yn arddangos eu crediniaeth yn yr adgyfodiad cyffredinol.* Bedyddid hwy i'r ffydd hono, ac ni chaniateid bedydd i neb yn yr oes apostolaidd ond a fuasai yn alluog i ddatgan yn ffurfiol ei grediniaeth mewn adgyfodiad. Credu yn athrawiaeth fawr yr adfywhad ydoedd nod gwahaniaethol y Cristionogion cyntefig; a hyn hefyd sydd yn cyfrif am yr erledigaethau mwyaf dychrynllyd y bu yn rhaid iddynt eu gwynebu. Yr ail osodaeth,

II. Fod perthynas arwyddluniol rhwng bedydd y Testament Newydd ag adgyfodiad y meirw. Y berthynas arwyddluniol hon oedd yn meddwl yr Apostol pan ysgrifenodd yr ail ofyniad, "A phaham y *bedyddir hwy dros y meirw?*" Y mae tansuddiad credadyn mewn dwfr yn cyfleu tri drychfeddwl: marwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad gyda Christ; ac y mae marwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad gyda Christ yn rhag-ddangos marwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad ei bobl yn y dydd a ddaw.

(1.) *Y mae bedydd yn arwyddocaol o farwolaeth.* Yr oedd pob bedyddiedig, yn yr oes apostolaidd, yn proffesu ei fod yn marw i bechod. Megys ag y bu Crist farw unwaith *dros* bechod, felly yr oeddynt hwythau yn y bedydd, yn marw gydag ef *i* bechod, fel na buasai iddynt fyw ynddo mwyach, eithr yn hytrach byw i Grist, yr hwn a fu farw drostynt, ac a gyfododd i'w cyfiawnhau. Ac nis gallasai y Pen mawr sefydlu ordinhad yn mha un y mae y naturiol yn arwyddocad

mwy clir o'r ysbrydol nag a geir yn y bedydd ysgrythyrol. Megys y sylwa Dr. Cathcart yn y "Baptist Encyclopedia," fod yna eiliad neu ddwy yn hanes pob bedyddiedig, y foment y mae yn gladdedig yn y dwfr, nas gall anadlu ynddi. Dygir ei anadl ymaith, ac y mae yn gyffelyb i'r llwyr farw nad oes anadl yn ei ffroenau. Y mae yr hyn a gymer le am eiliad yn gorphorol, yn cymeryd lle yn ysbrydol yn barhaus. Y mae y dyn *yn farw* i bechod. "Ac os buom *feirw* gyda Christ, yr ydym ni yn credu y byddwn byw hefyd gydag ef," &c. Rhuf. vi. 8.)

(2.) *Y mae bedydd yn arwyddocaol o gladdedigaeth.* Y peth a wneir ar ddiwrnod claddu y corph ydyw ei gludo i'r fynwent, ei osod yn y ddaear, a'i orchuddio a phridd allan o'r golwg. Y peth a wneir ar ddiwrnod bedyddio ydyw, myned a chredadyn wedi marw i'r *fedd*-yddfa; gosodir ef i lawr yn y dwfr, fel y bydd yn hollol orchuddiedig â'r elfen ddyfrllyd. "*Claddwyd* ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth," &c. (Rhuf. vi. 4.) "Wedi eich *cyd-gladdu* ag ef yn y bedydd, yn yr hwn hefyd y'ch cyd-gyfodwyd trwy ffydd gweithrediad Duw," &c. (Col. ii. 12.) Oblegid hyn y canodd Eben Fardd:

"O! *gyd-gladdiad* gogoneddus,
Adyn edifeiriol, trist,
Yn arddangos yn ei fedydd
Ei *gyd-gladdiad* gyda Christ,
Ai gyfodiad,
Codiad er adferiad fydd."

(3.) *Y mae bedydd yn arwyddocaol o adgyfodiad.* Y mae ymddadsuddiad y bedyddiedig o'r dwfr yn

rhag-gysgod tarawiadol, nid yn unig o adgyfodiad i newydd-deb buchedd, ond hefyd o adgyfodiad corph o fedd. Mewn gwirionedd, yn mhob bedydd ysgrythyrol, ceir yr adgyfodiad mawr yn cael ei ddangos ar raddeg fechan. "Canys os gwnaed ni yn gyd-blanhigion i'w farwolaeth ef, felly y byddwn i gyffelybiaeth ei adgyfodiad ef * * * Felly chwithau hefyd, cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod, *eithr yn fyw* i Dduw, yn Nghrist Iesu ein Harglwydd." (Rhuf. v. 5–11.)

Yn awr, gan mai at bobl a wyddent fod bedydd yn hawlio crediniaeth mewn adgyfodiad, ac fod bedydd yn rhag-gynllun o'r adgyfodiad, yr ysgrifenai Paul, pa beth ydyw y canlyniad? Onid hyn, fod yn rhaid iddynt hwy, os am fod yn gyson â hwy eu hunain, wneyd un o ddau beth; naill ai rhoddi y goreu am byth i'r gwaith o fedyddio, neu ynte gredu athrawiaeth yr adgyfodiad. Os arfer yr ordinhad sydd yn gynddelwad mor eglur o adgyfodiad y meirw, yn sicr yr oedd yn wrthuni haeru drachefn nad oes adgyfodiad. O'r tu arall, os nad ydyw bywhad tyrfa marwolaeth yn ffaith, y goeg-chwareuaeth fwyaf ynfyd ac ansylweddol y cymerodd dynion ran ynddi erioed ydyw claddu personau mewn dwfr.

Ac yr ydym yn hawlio mai y deongliad hwn ydyw yr unig un sydd yn cydnabod, ac yn cydymffurfio ag arddull ymresymiadol Paul yn y benod. Cyferfydd a'r rhai oeddynt yn dweyd nad oes adgyfodiad, drwy brofi fod yr hyn oeddynt yn anghredu yn dinystrio pob erthygl arall o bwys yn eu Cyffes Ffydd. Pwy oeddynt y gwrthddywedwyr hyn y mae yn anhawdd

gwybod. Ac y mae yn anhawdd gwybod, hefyd, pwy oedd wedi siglo eu ffydd; pa un ai yr Epicuriaid, y Saduceaid, y Gnosticiaid, neu ynte a oedd cyfeiliornad Hymeneus a Philetus (2 Tim. ii. 18) wedi cyrhaedd Corinth. Beth bynag, dywed yr Apostol wrthynt

1. Os nad oes adgyfodiad, fod Crist Duw yn ei fedd. (Adn. 13eg.)

2. Os nad oes adgyfodiad, fod gweinidogaeth y deuddeg apostol yn au-dystiolaeth. (Adn. 14.)

3. Os nad oes adgyfodiad, yna nid oes maddeuant pechodau wedi ei fwynhau gan neb. (Adn. 17.)

4. Os nad oes adgyfodiad, yna y mae y rhai a fuont feirw yn Nghrist yn golledig. (Adn. 18.)

5. Os nad oes adgyfodiad, yna y mae y rhai a aberthasant bob peth yn y grediniaeth o sefyllfa ddyfodol, y dynion mwyaf truenus a thwylledig ar wyneb y ddaear. (Adn. 19.)

6. Os nad oes adgyfodiad y meirw, y mae gweinyddu a derbyn yr ordinhad o fedydd y lledrith mwyaf gwag a disynwyr y clywyd erioed am dano. Edrycher ar gyfres y trychinebau! Y mae y Gwaredwr yn y bedd yn pydru, ac nid ar y ddeheulaw yn eiriol. Y mae y prophwydoliaethau am ei ogoneddiad, nid wedi eu boddloni mewn cyflawniad, ond fel haulebau anymwybyddedig yn nwylaw cythreuliaid; yn profi fod Duw yn fethdalwr, a Christ, ei Fab, yn arch-dwyllwr. Y mae y deuddeg apostol yn teilyngu merthyrdod mil mwy poenus, pe yn ddichonadwy, nag a fesurwyd iddynt, am daenu y fath chwedl gelwyddog yn mysg y cenedloedd. Gwaeth eto; y mae yna ryw dyrfa aneirif, a dderbyniwyd i balasau y nef, i rwysgfawredd

bröydd Caersalem, ac i gymdeithas angelion a seraphiaid; y mae yn rhaid eu taflu allan o'r etifeddiaeth, gwerthu eu telynau, a threfnu i ryw geisbwl yn y llywodraeth fawr wneyd arwerthiant ar eu gorseddau. Ac heblaw hyny, gan nad oes adgyfodiad, y mae pawb trwy yr holl fyd yn gallach ac yn well allan na'r Bedyddwyr. Y mae yn drueni eu gweled yn adeiladu bedydd-fanau, yn myned i fynwes y tonau rhewedig yn nyfnder gauaf oer, ac yn marw wrth y miloedd ar y stanciau, yn y carcharau, a thrwy y cleddyfau, yn hytrach na gwadu yr hyn a alwant hwy "y ffydd."

*Ond*, OND, y mae adgyfodiad. "Eithr yn awr Crist a gyfodwyd oddiwrth y meirw, ac a wnaed yn flaenffrwyth y rhai a hunasant." (Adn. 20.) A chan ei fod ef wedi codi, ac wedi codi fel blaen-ffrwyth cynauaf mawr maesydd marwolaeth, y mae colofnau yr adeiladwaith Cristionogol yn dragywyddol ddiogel; y mae cymeriad y deuddeg apostol fel yr haul ar ganolddydd; y mae canlynwyr Crist yn y nefoedd ac ar y ddaear y bob ddoethaf a dedwyddaf o bawb; ac y mae yr ordinhad o fedydd fel y sefydlwyd hi gan Grist, ac y gweinyddwyd hi gan yr apostolion, ar unwaith yn dyfod yn sefydliad gorlawn o brophwydoliaethau am ddyfodol gogoneddus plant Duw.

# BEDYDDIO DROS Y MEIRW.

"Beth a wna y rhai a fedyddir dros y meirw, os y meirw ni chyfodir?"—1 Cor. xv. 29.

GAN Y PARCH. T. C. EDWARDS (CYNONFARDD).

Dywed yr hen esboniwr, Dr. Adam Clarke, mai hon ydyw yr adnod fwyaf dyrys yn yr holl Feibl. Yr hyn a wna hon yn adnod ddyrys yw y ffaith fod yma gyfeiriad at arferiad na allai teithi yr oruchwyliaeth Gristionogol ganiatau i fod yn rhan o honi, sef "bedyddio dros y meirw," ac hefyd o herwydd nad oes sicrwydd hanesyddol wedi ein cyrhaedd fod y fath arferiad mewn bodolaeth. Prawfion amgylchiadol yn unig ellir ddwyn i ategu y dybiaeth o fodolaeth arferiad nad oes genym awdurdod yr hen haneswyr ar ei chyflawniad. Dywedai y diweddar Dr. Hodge fel hyn: "The darkness which rests upon this passage can never be cleared away, because the reference is to a custom of which no account is extant."

Mynai rhai hen esbonwyr dysgedig gredu fod yr arddodiad "*dros*" yn golygu uwchben, ac mai y meddwl yw bedyddio y byw ar fedd y marw; h. y., uwchben (dros) y marw. Ond nid hyny yw ystyr y gwreiddiol yn y fan hon, eithr yn hytrach golyga er mwyn, er mantais, *for*. Oferedd olrhain yr amrywiol dybiau.

Ymddengys yr adnod i mi yn ddigon hawdd idd ei deall os caniateir, fel y tybia Dr. Hodge, fod yr Apostol yn cyfeirio at arferiad oedd yn mhlith y Corinthiaid paganaidd o gysylltu cyfeiriad at y marw a gwein-

yddiad bedydd i'r byw. Nid yw dull na deiliaid yr ordinhad yn perthyn o gwbl i ymresymiad yr Apostol yn yr adnod hon. Ymresyma ef bwnc mawr yr adgyfodiad, a geilw sylw y Corinthiaid hyny a wadent yr athrawiaeth, at eu hanghysondeb hwy eu hunain yn bedyddio dros y meirw, ac eto yn honi na ddelai y meirw byth yn fyw mwyach. Os na fydd adgyfodiad, ni fydd unrhyw berthynas mwy rhwng y rhai sydd yn fyw yn awr, a'r rhai sydd wedi meirw, felly oferedd hollol ydyw cyflawni unrhyw ordinhad gyda golwg ar iddi fod yn fantais i'r meirw. Diau fod y paganiaid yn credu y gallai y byw gynorthwyo y marw trwy ddyoddef drosto, neu trwy ymostwng i drefniadau defodol a esgeulusodd, neu a ddiystyrodd y marw, tra yr oedd yn fyw. Mae olion credoau felly yn aros hyd heddyw.

Barna rhai fod haint echryslawn wedi bod yn Corinth, a lluaws o'r trigolion wedi meirw yn sydyn ac yn anfedyddiedig, a bod eu cyfeillion a'u perthynasau yn cymeryd eu bedyddio yn eu lle, neu drostynt, fel y gallent hwythau gael rhan o freintiau y bedyddiedig. Gwyddai yr Apostol am hyny, a chymerai fantais i ymresymu â hwynt ar eu tir eu hunain. "Pa fodd y dywed rhai yn eich plith chwi nad oes adgyfodiad y meirw?" a'r personau hyny eu hunain yn ymostwng i gymeryd eu bedyddio er mwyn y meirw? Yn awr, os y meirw ni chyfodir, paham y bedyddir hwy dros y meirw? Nis gallasai y twyll-ymhonwyr hyn ddal yn wyneb y fath ymresymiad llym *ad hominem*. Ar ol cyrhaedd yn effeithiol at y gelynion, dylyna Paul yr ymresymiad, gan droi at y credinwyr yn yr un oslef,

"A phaham yr ydym ninau mewn perygl bob awr?" Mae yr ysgrifenydd ysbrydoledig yn ymwybodol fod gwirionedd tragywyddol yr adgyfodiad, a eglurwyd ac a seliwyd trwy adgyfodiad ein Hiachawdwr, yn taflu ei gysgod ar bob enaid byw, crediniol ac anghrediniol, ac nas gellir osgoi ei ddylanwad; ac felly, fod paganiaid, heb y datguddiad Beiblaidd, yn ymwybodol o'r angenrheidrwydd am i'r meirw gael eu codi i fywyd.



## Y SWMBWL YN Y CNAWD.

"Ac fel na'm tra-dyrchafer gan odidowgrwydd y datguddiedigaethau, rhoddwyd i mi swmbwl yn y cnawd, cenad Satan, i'm cernodio, fel na'm tra-dyrchefid."—2 COR. xii. 7.

Y mae tri dosbarth o esbonwyr yn dynesu at y geiriau hyn dan ddylanwad tair argraff wahanol. Meddienir y cyntaf gan y syniad fod pob llafur i'w deall yn waeth na bod yn ofer, a hyny am y rheswm nad ydyw eu deall, neu beidio eu deall, o unrhyw bwysigrwydd ymarferol i neb, yn awr nac am byth. Nid ydym yn cytuno a'r syniad hwn am amryw resymau, ac yn bwysicaf yn eu mysg y mae a ganlyn: Y mae yr Ysbryd Glan wedi gweled yn dda eu gosod yn y Testament; y mae dynion drygionus wedi eu camddefnyddio (megys y gwelir yn ol llaw) er creu amheuaeth am burdeb cymeriad yr apostol Paul; ac heblaw hyny, nis gellir dyfod o hyd i'r addysg barhaol sydd ynddynt oddieithr fod natur y brofedigaeth yn ddealladwy.

Meddienir yr ail ddosbarth gan y syniad fod y geiriau yn drwyadl yn anesboniadwy. Felly y cyhoeddir hwy gan rai o brif feirniaid y blynyddau diweddaraf, megys Olshausen, Rückert, Bilroth, DeWette, Meyer, Wordsworth, Gloag, &c. Y mae genym lawer o gydymdeimlad ag egwyddor y farn hon, sef fod yr Arglwydd, yn ei ddoethineb a'i ddaioni, wedi cuddio ffurf neillduol profedigaeth Paul, modd y gallasai ei holl saint, gan nad beth fuasai ffurf eu profedigaethau hwythau, dderbyn cysur oddiwrth yr addewid fu yn gynaliol iddo ef, sef, "Digon i ti fy ngras i, canys fy nerth i a berffeithir mewn gwendid." (Adn. 9.) Ond yr hyn sydd yn syndod ydyw, fod y rhai a ddywedant fod y geiriau yn anesboniadwy, wedi gwneyd pob ymdrech i chwalu y gwyll a orwedd arnynt. Os yn annatrusadwy, paham y llafur i ddiosg y dirgelion oddiam danynt?

Nid ydym yn dymuno, ychwaith, cael ein rhestru gyda'r trydydd dosbarth, yr hwn, gan orlawnder ysbryd haeredigol, a hona y gall efe roddi eglurhad cywir, gôleu, ac anamheuadwy, o'r adnod ddyrys hon. Y cwbl ydym ni yn obeithio allu wneyd, ydyw, casglu yn nghyd, a gosod mewn trefn, yr awgrymau a'r meddyliau hyny, y rhai, os na fydd iddynt roddi goleuni terfynol, eto a fyddant yn deilwng o ystyriaeth ddifrifol y myfyriwr Beiblaidd.

### YMHOLIADAU.

Pa beth ydyw ystyr y gair swmbwl? Pa beth oedd y swmbwl oedd yn nghnawd Paul? Ai yr un peth a olygai yr Apostol wrth swmbwl, gan nad beth ydoedd,

ag a olygai wrth genad Satan? A ydyw yr adnod yn cyfeirio mewn modd allegol at ddyoddefaint meddyliol, neu ynte a ydyw yn llythyrenol ddarluniadol o ddyoddefaint corphorol? A oes yn ysgrifeniadau Paul ymadroddion eraill yn mha rai y gellir tybio ei fod yn cyfeirio at yr unrhyw flinder ag a grybwyllir yma?

Pa beth ydyw swmbwl? Yr ystyr a roddir gan yr ysgolor Cymreig, Cynddelw, ydyw, cethren amaethyddol er gyru ychain. Yr ystyr a roddir iddo gan yr ysgolor Groegaidd, Stanley, ydyw pawl, yn gyffelyb i'r polyn llawn o bicellau blaenllym, ar ba un, mewn gwahanol oesau, y gosodwyd miloedd o ganlynwyr Crist i farwolaeth. Yr ystyr a roddir iddo gan yr ysgolheigion Seisnig a gyfieithiasant y Beibl ydyw draen (*thorn*). Ac ystyried pob peth, diau mai y gair olaf ydyw yr hapusaf i gyfleu y gwreiddiol. Byddai cysylltu â'r gair y syniad o bawl merthyrdod, neu gethren amaethyddol, yn ormodedd; a mwy naturiol meddwl fod yr Apostol yn cyffelybu ei boenau ef i boenau un yn dyoddef oddiwrth ganlyniadau parhaol draen mewn cnawd. Peth arswydus i ddyn fuasai cael draen mor flaenllym a nodwyd, ac mor galed ag asgwrn, yn gladdedig yn ei gnawd. Achosai y fath boen fel nad ellid ei anghofio am foment; a buasai cysgod gwrthddrych yn creu arswyd ar y person a ddyoddefai, rhag ofn iddo gyffwrdd ag ef. Beth bynag ydoedd profedigaeth yr Apostol, rhaid ei bod yn angerddol boenus cyn y buasai yn dewis y boen oddiwrth ddraen yn y cnawd i'w hengreifftioli. Ac y mae y frawddeg ddylynol yn eglur wedi ei bwriadu i osod allan ddirfawredd ychwan-

egol y trallod, sef, "cenad Satan i'm cernodio." Yr Arglwydd drefnodd y swmbwl, ond Satan fu yn ei awchlymu a'i wthio i'w gnawd. Bob tro y cafodd Satan ganiatad i weinyddu cosbau neu brawfiedyddion, cymerodd fantais i ddangos ei gynddaredd dieflig, megys y gwnaeth efe yn achos Job, ac eraill.

Ond er meddu dirnadaeth am swmbwl, y mae yr anhawsder yn aros hyd nes y gwyddys pa beth ydoedd y swmbwl oedd yn nghnawd yr apostol Paul. Hwn ydyw y cwestiwn dyrys. Y mae pob ysgrifenydd yn gweled yn y gair gynrychioliad o ryw ddolur, ond y mae yn ddigrifol i sylwi mor nodedig o wahanol ydyw y doluriau a awgryma y gair i wahanol bersonau. Nid oes nemawr anfantais, gorphorol na meddyliol, nad oes rhywrai wedi dadleu mai hono oedd yr anfantais y sonir am dani yma. Yn wir, efallai fod gradd o wirionedd yn sylwad hoenus y Deon Houson, pan ddywed fod pob esboniwr, os yn cael ei flino gan ryw anhawsder ei hunan, yn dueddol iawn i ddweyd mai hwnw oedd yr anhwylder a flinai yr apostol Paul!

Y mae dosbarth helaeth o esbonwyr, sef yr holl rai a dybiant mai allegol hollol ydyw yr ymadrodd "swmbwl yn y cnawd," yn dadleu mai trallod meddyliol a olygir, ac nid trallod corphorol; fod poenedigaeth gorphorol dybiedig yn cael ei defnyddio yn gyffelybiaethol, i osod allan boenedigaeth eneidiol wirioneddol. Ond pan y gofynir i'r dosbarth allegol o esbonwyr, pa beth oedd yn cystuddio enaid yr Apostol, y mae eu hatebion ar unwaith yn dra amrywiol. Nodwn engreifftiau:

1. *Mai y swmbwl ydoedd ymdrech orchestol a*

*llwyddianus gau-athrawon i ddymchwel ei lafur yn Nghorinth.* Tybir fod yr Apostol yn teimlo mor boenus wrth weled rhai o'r Corinthiaid yn ymadael oddiwrth symledd yr efengyl, a phe buasai swmbwl yn ei gnawd. Er rhoddi gwedd gredadwy i'r deongliad, cyfeirir at y manau lle y mae pobl boenydiol yn cael eu cyffelybu i ddrain, &c. Cyfeirir yn arbenig at y lleoedd canlynol: "Ac oni yrwch ymaith breswylwyr y tir o'ch blaen (y Canaaneaid), yna y bydd y rhai a weddillwch o honynt yn gethri yn eich llygaid, ac yn ddrain yn eich ystlysau, a blinant chwi yn y tir y trigwch ynddo." (Numeri xxxiii. 55.) Drachefn, "Ac ni bydd mwy i dy Israel, o'r holl rai o'u hamgylch a'r a'u dirmygasant, ysbyddaden bigog, na draenen ofidus; a chânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd Dduw." (Ezeciel xxviii. 24.) Haerir fod y drain a'r ysbyddaden yn y cysylltiadau yna, yn golygu dynion ymosodol a chreulon, y cyfryw ag yr oedd gan Paul i'w gwrthsefyll yn Nghorinth.

2. *Mai y swmbwl ydoedd tymeredd nwydwyllt ac aflywodraethus, yn ffynonell gwendid yn ei gymeriad moesol.* Dyma, meddir, ydoedd y rheswm o'r ymosodiad ar Ananias yn y Sanhedrim, a gyfrif hefyd am gryfder yr iaith gyda pha un y cyfarchodd Elymas, yn ogystal a'r cweryl a fu rhyngddo a Barnabas. Y mae awdurdod mor anrhydeddus a'r Proffeswr Lias, yn ei esboniad ar yr epistolau at y Corinthiaid, wedi ei gwystlo dros y farn hon.

3. *Mai y swmbwl ydoedd presenoldeb chwantau trythyll a phechadurus yn ymderfysgu yn ei enaid.* Deilliodd y farn gabledd us hon allan o ymenyddiau y

dysgawdwyr Rhufeinig, Bede, Aquinas, Bellarmine, Lapide, ac eraill, ac y mae yn syndod mor lleied o'r gwenwyn dynwyd allan o honi gan y diwygwyr Calvin, a Luther, oblegid y maent hwythau, hefyd, drwy ddweyd mai *profedigaethau ysbrydol* a olygir, yn awgrymu fod yr Apostol yn cael ei flino gan lu o dueddiadau llygredig.

Heb roddi ychwaneg o'r cyfryw farnau, profer gwirionedd yr uchod drwy osod ar eu cyfer neillduolion eglur a chydnabyddedig y swmbwl yn y cnawd, ac os na fydd iddynt gyfateb i'r rhai hyny, rhaid ystyried y deongliad a gynygiant yn gyfeiliornus. Neillduolion y brofedigaeth ydynt a ganlyn:

(*a.*) Yr oedd yr Apostol yn ymffrostio yn y brofedigaeth oblegid ei bod yn sicrhau iddo nerth Crist. (2 Cor. xii. 9.)

(*b.*) Yr ydoedd y gwendid, gan nad beth ydoedd, yn weladwy i unrhyw edrychydd arno. (Gal. 4. 14.)

(*c.*) Yr ydoedd y swmbwl wedi ei osod yn ei gnawd gan yr Arglwydd, a hyny er ei gadw rhag tra-dyrchafu.

(*d.*) Yr oedd y swmbwl, o ran ei leoliad, nid yn ei ysbryd, ond yn ei *gnawd.* Fel y sylwa Winer, yn ei Ramadeg, fod yma yn y gwreiddiol ddau achos rhoddiadol (*dative cases*), yn cael eu rhoddi; y naill i ddesgrifio y person, a'r llall y rhan neillduol o'r person ar ba un yr effeithiai, sef ei *gnawd.*

Yn awr, gan na ddarfu i'r Apostol erioed ymffrostio yn ngwrthsafiad gau-athrawon; gan y buasai yn gabledd ar Dduw i ddweyd ei fod ef wedi rhoddi tymerau a nwydau drygionus yn enaid Paul; a chan fod Paul ei hunan yn dweyd mai yn ei gnawd, ac nid yn ei ys-

bryd, yr oedd ei wendid, y mae yn rhaid cefnu ar y dyfaliadau uchod er chwilio am eglurhad arall mwy cyson â hawliai deongliadaeth.

Y cwestiwn erbyn hyn ydyw, nid beth ydyw swmbwl, na pheth ydoedd y swmbwl, ond pa beth ydoedd y swmbwl oedd *yn nghnawd* yr apostol Paul? Mewn gair arall, pa beth ydoedd nodwedd y dolur a flinai gyfansoddiad corphorol yr Apostol? Yn yr ymchwiliad hwn, drachefn, rhaid i ni daflu rhai damcaniaethau anhygoel ymaith, heb ond yn unig eu crybwyll. Yn eu mysg, yn nodedig, y mae y rhai dylynol: (*a.*) Mai cael ei flino yr ydoedd gan boen yn ei glustiau. (*b.*) Mai ei afiechyd ydoedd cur mawr a gwastadol yn ei ben. (*c.*) Mai darostyngedig ydoedd i'r llesmeir-glwyf. (*d.*) Mai poen yn ymgodi o anhwyldeb gieuol (*neuralgia*) oedd ffynonell fawr ei ddyoddefaint.

Dosbarth o esbonwyr sydd wedi llwyddo i sefydlu eu hunain yn nghymeradwyaeth tyrfa fawr ydyw y rhai a ddygant resymau dros gredu mai parlysiad cyhyrol oedd y nychdod a'i blinai. Y mae yr ystyriaethau a ddygir yn mlaen er cyfiawnhau y fath syniad yn bwysig, a rhai o honynt yn naturiol a chredadwy. Nodwn y rhai pwysicaf.

1. *Fod yn dra thebyg y buasai i weledigaethau nefol, y cyfryw ag a gafodd yr Apostol, effeithio yn barhaol ar ei gyhyrau.* Ymresymir, megys yr effeithiodd ymddangosiad yr Arglwydd i Jacob yn Mheniel ar eu glin, ac megys yr oedd Daniel yn glaf dros ddyddiau lawer mewn canlyniad i un o'i weledigaethau, felly yr achoswyd gwendid parhaus yn nghyhyrau Paul gan odidawgrwydd y gweledigaethau.

2. *Fod pob peth a ddywedir gan yr Apostol, mewn cyfeiriad at yr un gwendid, yn gyfryw y gallasai dyn yn dyoddef oddiwrth gyhyrau parlysedig, eu dweyd.* Y mae Paul yn siarad am dano ei hun fel un "anghyfarwydd ar ymadrodd." (2 Cor. xi. 6.) A phan yn dadleu dros ei awdurdod, dyfyna eiriau y rhai a'i gwadent, sef "fod presenoldeb y corph yn wan, a'r ymadrodd yn ddirmygus." (2 Cor. x. 10.) Gyda golwg ar hyn y dywed Dr. Doddridge, "Effeithiodd yr olwg a gafodd yr Apostol ar y gogonianau nefol, ar ei gyfundrefn gyhyrol yn y fath fodd fel ag i achlysuro arwyddion o barlys, yn enwedig atal dweyd yn ei araeth, ac efallai ryw anffurfedd yn ei wynebpryd," &c.

3. *Nis gallesid dychymygu am unrhyw brofedigaeth lemach i genadwr fel Paul, na methiant mewn lleferydd, neu dramgwydd mewn ymddangosiad.* Yr ydoedd wrth ei swydd yn wastadol yn anerch dyeithriaid, a buasai diffyg mewn siarad neu ddiffyg mewn ymddangosiad, yn llesteirio ei lwyddiant. Ac heblaw hyny, dywedir, fod y ffaith ei fod unwaith wedi bod mor nodedig am ei alluoedd araethyddol, yn gymaint felly fel y mynai pobl Lystra ei addoli fel Mercurius, duw hyawdledd (Actau xiv. 12), ond wedi eu colli drwy y swmbwl, yn flinder dirfawr iddo, ac mai dyma y rheswm iddo atolygu deirgwaith ar iddo ymadael ag ef. Y mae grym yr ategiant diweddaf hwn, modd bynag, yn cael ei leihau yn fawr gan y ffaith fod y swmbwl wedi bod yn nghnawd yr Apostol er ys pedair blynedd ar ddeg pan yn ysgrifenu am dano at y Corinthiaid, ac felly fod yn rhaid fod y swmbwl yn ei gnawd pan gynygiodd pobl Lystra ei addoli. Ac heb-

law hyny, y mae ei hyawdledd yn Athen, a nerth ei araeth o flaen Agrippa yn ddylynol, yn creu amheuaeth, a dweyd y lleiaf, ai ar ei leferydd yr oedd y diffyg. Yr olygddysg a gymeradwya ei hunan i ni ydyw,

*Mai diffyg poenus yn ngwelediad yr Apostol ydoedd y swmbwl yn ei gnawd.* Felly y creda Alford, Lewin, Plumptre, Farrar, Hiraethog, &c., ac ymddengys y fath dyb yn cyfarfod holl amgylchiadau yr achos yn gyflawnach nag un o'r rhai a enwyd. Ystyrier yr holl bethau canlynol, a gweler y modd y cyd-wasanaethant er gwneyd y fath feddyliad yn gredadwy. Gallem amheu, er nas gallem brofi, na fu llygaid yr Apostol byth gystal ar ol y goleuni mawr ar ffordd Damascus; ond nid ar yr amheuaeth hwnw y dybynwn am gywirdeb ein deongliad, eithr yn hytrach ar ffeithiau cydnabyddedig.

(*a.*) *Y pethau a welodd yr Apostol beryglodd ei ysbryd.* Godidawgrwydd y *gweledi*gaethau fu yn demtasiwn i dra-dyrchafiad, a rhesymol credu fod yr atalfa wedi ei gymwyso at y rhan lle yr ydoedd y perygl.

(*b.*) *Parodd golygon anmherffaith iddo fethu adnabod person adnabyddus iddo, tra yn ei ymyl.* Dygwyddodd hyny yn llys Ananias yr arch-offeiriad. Yr oedd yr Apostol wedi amddiffyn ei hun gyda nerth o flaen y fainc, pan y gorchymynodd Ananias i'r rhai oedd yn sefyll gerllaw iddo ei daro ar ei enau. Naill ai cyn, neu wedi ufuddhau iddo, gofynodd y sefyllwyr i Paul, "A ddifenwi di arch-offeiriad Duw?" I'r gofyniad yna etyb yr Apostol, "Ni wyddwn i, frodyr, mai yr arch-offeiriad oedd efe: canys ysgrifenedig yw,

Na ddywed yn ddrwg am benaeth dy bobl." (Actau xxiii. 1–5.) Paham na wyddai Paul mai yr arch-offeiriad ydoedd? Y mae pob lle i gredu ei fod yn ei adnabod yn bersonol, ac hyd yn nod pe na buasai, pe ei olygon yn glir, hawdd fuasai iddo ddeall oddiwrth ei wisg, yn nghyd a'i safle a'i awdurdod yn y Senedd, mai efe ydoedd y prif weinidog, ac eto dywed, "Ni wyddwn i, frodyr, mai yr arch-offeiriad oedd efe." Nid oes ond un ffordd i gyfrif am ei anwybodaeth, sef ar y dybiaeth fod rhyw anaf ar ei lygaid.

(*c*) *Y mae yn ffaith ddyeithr, ond ddiamheuol, fod yr Apostol yn gofyn gwasanaeth person arall i ysgrifenu ei epistolau at yr eglwysi.* Anfynych yr ysgrifenai a'i law ei hun. Un Tertius ysgrifenodd y llythyr at y Rhufeiniaid. (Rhuf. xvi. 22.) Yr unig beth a wnelai ef fyddai ychwanegu rhyw gyfarchiad byr ar ddiwedd pob epistol, er sicrwydd i'r eglwysi fod yr epistol yn dyfod yn awdurdodedig. Felly y dywed wrth y Thessaloniaid, "Yr anerch a'm llaw i Paul fy hun; yr hyn sydd arwydd yn mhob epistol: fel hyn yr ydwyf yn ysgrifenu." (2 Thess. iii. 17.) Gweler engreifftiau o'r un peth yn 1 Cor. xvi. 21–24; Col. iv. 18. Os y cofiwn bwysigrwydd y pethau oedd ganddo i'w hysgrifenu, ei barodrwydd i argymeryd ag unrhyw lafur, yn nghyd a'i ysgolheigdod diamheuol, rhaid ei fod yn cael ei luddias i ysgrifenu gan ryw anallu; a pha beth yn bwysicach i ysgrifenwr na llygaid?

Yr ydym wedi dweyd nad ydoedd Paul yn ysgrifenu ei lythyrau—y mae hyny yn wirionedd; ond i'r rheol yna y mae dwy eithriad, sef yr epistol at y Galatiaid, a'r epistol at Philemon. (Gal. vi. 11; Phil. 19.) Ond

a ydyw yr eithriadau hyn yn cyfnewid y casgliad a dynwn? Gadawer gweled. Un nodedig o fyr ydyw y llythyr at Philemon, ac y mae ei fyrder, megys y dywed Prunier (Hom. Quar. 1879), yn awgrymu un o ddau beth, ddarfod i'r Apostol ei ysgrifenu o herwydd mai un byr ydoedd i fod, neu ynte fod yr epistol yn fyr o herwydd mai Paul a'i hysgrifenodd, ei bod yn boenus iddo ymhelaethu. Ond tra y mae byrder y llythyr at Philemon yn dystiolaeth allanol fod ysgrifenu yn golygu ymorchest i'r Apostol, y mae adnod a ysgrifenodd yn y llythyr at y Galatiaid, yn dystiolaeth fewnol i'r un gwirionedd. Dywed wrth y Galatiaid, "Gwelwch *mewn llythyrenau mor fawrion* yr ysgrifenais atoch a'm llaw fy hun." (Gwel Cyfieithiad Diwygiedig, Gal. vi. 11.) Yr oedd serch Paul at eglwys Galatia yn eithriadol gryf; yn ngrym y serch hwnw ymddygodd yntau yn eithriadol drwy ysgrifenu atynt a'i *law ei hun*; ond wrth ysgrifenu, o herwydd y diffyg poenus yn ei lygaid, yr oedd y memrwn yn cynwys llythyrenau breision ac afrosgo.

(*d.*) *Yr oedd y boen fflamegol yn llygaid yr Apostol mor arteithiol, fel na fuasai unrhyw aberth yn ormod i'w wneyd gan ei gyfeillion i'w waredu oddiwrtho, pe y gallasent.* Hon yw ei dystiolaeth: "A'm profedigaeth, *yr hwn oedd yn fy nghnawd*, ni ddiystyrasoch; eithr chwi a'm derbyniasoch megys angel Duw, megys Crist Iesu. Beth wrth hyny oedd eich dedwyddwch chwi? canys tystio yr wyf i chwi, pe buasai bosibl, y *tynasech eich llygaid*, ac *a'i rhoisech i mi*." (Gal. iv. 14–15.) Gwna yr awdwr dysgedig Bungener nodiad ar y geiriau hyn i'r perwyl fod yn hawdd dychymygu

am un dyn yn dymuno *tynu ei lygaid* er mwyn cyfaill, ond nas gellir dychymygu am neb yn eu *rhoddi* iddo, oddigerth fod y cyfaill hwnw yn amddifad o lygaid, neu fod y llygaid oedd ganddo yn wrthyrol neu boenus. Beth bynag oedd y swmbwl yn nghnawd Paul, y mae tri pheth yn eglur: fod y rhai goreu o blant Duw yn agored i ryw wendid ysbrydol; fod gan y nefoedd ryw ddylanwad gwrthweithiol i'r gwendid hwnw; ac fod gras Duw yn ddigonol i ddal y Cristion o dan y gwrth-ddylanwadau, gan nad pa mor boenus y byddant. Yr oedd yn rhaid rhoddi swmbwl yn nghnawd y "llestr etholedig," oblegid ei duedd i dra-dyrchafu; ond gofalodd y gwr roddodd y swmbwl rhag ei dra-ddyrchafu, roddi iddo hefyd ei nerth rhag ei dra-ddarostwng.

---

## YMADNEWYDDU DRACHEFN I EDIFEIRWCH.

"Canys anmhosibl yw i'r rhai a oleuwyd unwaith, ac a brofasant y rhodd nefol, ac a wnaethpwyd yn gyfranogion o'r Ysbryd Glân, ac a brofasant ddaionus air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw, ac a syrthiasant ymaith, ymadnewyddu drachefn i edifeirwch; gan eu bod yn ail groeshoelio iddynt eu hunain Fab Duw, ac yn ei osod yn watwar."—Hebreaid vi. 4–6.

### YMHOLIADAU.

A ydyw y geiriau hyn yn ddarluniadol o ddynion wedi eu hachub drwy yr efengyl? A ydyw y geiriau yn dysgu fod yn bosibl i'r rhai a achubwyd drwy yr efengyl syrthio eilwaith i golledigaeth? A ydyw y

geiriau yn rhoddi ar ddeall fod edifeirwch y rhai a syrthiasant ymaith yn anmhosibl ynddo ei hun, neu ynte yn aneffeithiol er adferiad?

Dywed un dosbarth o esbonwyr, yr un Arminaidd, fod y geiriau hyn yn cyfiawnhau y grediniaeth o'r posiblrwydd i ddyn a adgenedlwyd gan ras, wrthgilio yn hollol ac am byth oddiwrth Grist, ac oddiwrth grefydd. Haerant fod y ffaith fod Paul yn ysgrifenu o gwbl am y fath syrthiad ymaith, yn profi y posiblrwydd o hono. Dywed y dosbarth arall, yr un Calfinaidd, fod y geiriau hyn yn cyfiawnhau y grediniaeth fod yn bosibl i ddyn ddyfod yn wrthddrych y dylanwadau nertholaf, ac eto heb fod yn gadwedig. Haerant fod Paul yma yn ysgrifenu am rai oedd wedi derbyn y manteision uchelaf, wedi eu goleuo, wedi derbyn y rhodd nefol, &c., ac eto heb gyfranogi o fywyd ysbrydol a thragywydol yr efengyl. Y mae ysgrifeniadau Calvin, Dr. Owen, Dr. Gill, &c., yn hawlio mai Cristionogion mewn proffes allanol a ddarlunir yma, ac mai ynfydrwydd fuasai yr ymadroddion fel darluniad o Gristionogion gwirioneddol.

Dywed y trydydd dosbarth, fod y geiriau wedi eu llefaru mewn arddull dybiaethol, ac mai eu dysgeidiaeth ydyw, pe buasai y fath beth a gwrthgiliad hollol oddiwrth grefydd yn cymeryd lle, yr hyn na wna, y buasai y gwrthgiliedig hwnw, o angenrheidrwydd, yn dragywyddol golledig. Fod Paul yma er mwyn ymresymu ar fater cynyddiad y bywyd crefyddol, mewn gwrthgyferbyniad i wrthgiliad oddiwrtho, yn gwneyd tybosodiad, ond nad ydyw y dyb yn sylfaenedig ar ffaith, eithr yn hollol fel arall. Dysga Dr. A Hovey, yn ei

"Alleged Discrepancies of the Bible," fod y dull hwn o ysgrifenu mewn arferiad cyffredin gan Paul. Cyfeiria at Gal. i. 8: "Eithr pe byddai i ni, neu i angel o'r nef, efengylu i chwi amgen na'r hyn a efengylasom i chwi, bydded anethema." Nid ydoedd Paul, yn sicr, am awgrymu fod perygl i "angel o'r nef" draddodi efengyl dwyllodrus i ddynion, ond pe y buasai iddo wneyd hyny, er iddo fod yn angel, bydded yn anathema. Ceir engreifftiau, drachefn, o'r modd tyb-osodiadol hwn yn 1 Cor. xiii. 1–3. Meddai yr Apostol: "Pe llefarwn a thafodau dynion ac angelion," &c.; "A phe byddai genyf brophwydoliaeth, a gwybod o honof y dirgelion oll, a phob gwybodaeth," &c.; "A phe porthwn y tlodion a'm holl dda; a phe rhoddwn fy nghorph i'm llosgi," &c. Yn y tair engraifft yna, y mae Paul yn tybio yr anmhosibl, a hyny er grymusoli ei ymresymiad. Yr un modd y testyn, tybiaeth ydyw, y gwyddai y sawl a'i hysgrifenodd nad ydoedd iddi seiliau mewn ffaith. Neu, fel y dywed y Parch. A. Barnes mewn geiriau detholedig, wrth ysgrifenu ar y testyn: "Nid ydyw (y testyn) yn sicrhad fod neb yn weithredol *wedi* syrthio ymaith, nac ychwaith, mewn gwirionedd, y *byddai* iddynt wneuthur hyny, ond y gosodiad ydyw, *pe y buasent wedi syrthio ymaith*, y buasai yn anmhosibl eu hadnewyddu drachefn."

Yr athrawiaeth a welwn ni yn y geiriau ydyw yr un ganlynol:

*Gan mai un drefn achubol sydd gan Dduw, fod syrthio allan o freichiau hono, yn gyfystyr a cholledigaeth anadferadwy.* Y mae yr athrawiaeth hon yn gorphwys ar dair tybiaeth. Yn gyntaf, fod yn bosibl

i'r trychineb mwyaf gyfarfod â phobl yr Arglwydd, "syrthio ymaith." Yn ail, fod yn annhebyg iawn y bydd i'r fath drychineb gyfarfod y fath bobl, oblegid y maent wedi eu goleuo, wedi profi y rhodd nefol, &c. Yn drydydd, pe y dygwyddai y fath drychineb, byddai y canlyniadau, o angenrheidrwydd, yn damnio. Y dybiaeth gyntaf,

*Y gall y trychineb mwyaf gyfarfod a phobl yr Arglwydd.* Y mae yn cael ei gynwys, nid yn unig y gallant syrthio, ond yr hyn sydd yn annirnadwy fwy difrifol, y gallant syrthio *ymaith.*

(*a.*) Y mae gwahaniaeth o'r fath bwysicaf rhwng syrthio, a syrthio *ymaith.* Y mae syrthio yn ddrwg, ond y mae syrthio *ymaith* yn filiwn gwaeth. Mewn cyffelybiaeth, nid ydyw y syrthio yn ddim ond afiechyd o fyr-barhad, ond y mae syrthio *ymaith* yn farwolaeth i'r holl gyfansoddiad. Y mae y syrthio yn gyffelyb i'r ddamwain a esyd y teithiwr yn glwyfedig ar fwrdd y llong, ond y syrthio *ymaith* yn gyffelyb i'r ddamwain a deifl y dyn oddiar y llong, gan ei adael ar ol, i'w feddrodi dan haenau y dyfnder.

(*b.*) Y mae genym engreifftiau o luaws yn mysg pobl Dduw wedi syrthio, ond nid oes genym gymaint ag un engraifft o blentyn i Dduw wedi syrthio *ymaith.* "Canys seithwaith y syrth y cyfiawn, ac efe a gyfyd drachefn; ond yr annuwiolion a syrthiant mewn drygioni." (Diar. xxiv. 16.) Syrthiodd Abraham yn yr Aipht, syrthiodd Noah yn ei babell, syrthiodd Dafydd ar ei orsedd, a syrthiodd Pedr yn y llys, ond ni ddarfu i un o honynt syrthio *ymaith*, oblegid adferwyd hwy drachefn.

(*c.*) Y mae darpariaeth yn yr efengyl ar gyfer adferiad yr hwn fyddo wedi syrthio, ond nid oes mewn efengyl ddarpariaeth ar gyfer yr hwn fyddo wedi syrthio *ymaith*. Ymresyma yr Arglwydd â'r syrthiedig; edrycha y Ceidwad â'i lygaid ar bob Pedr; ymrysona yr Ysbryd â phob gwrthgiliedig; a gelwir ar eglwys Dduw i adgyweirio yr hwn a oddiweddwyd ar fai, mewn ysbryd addfwynder. Ond am y dyn ag y mae Ysbryd yr Arglwydd wedi llwyr ymadael ag ef, holl gyfoeth y trefniant achubol wedi ei ddyhysbyddu arno yn ofer, ac yntau, er pob peth, mewn ymwybodolrwydd beiddgar, yn parhau yn ei bechod, nid oes aberth wedi ei adael dros bechodau hwnw. "Eithr rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr. Yr un a ddirmygai gyfraith Moses, a fyddai farw heb drugaredd, dan ddau neu dri o dystion: Pa faint mwy cosbedigaeth (dybygwch chwi) y bernir haeddu o'r hwn a fathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfamod, trwy yr hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Ysbryd y gras?" (Heb. x. 27–29.) Na, pwy bynag sydd "yn ail-groeshoelio iddynt eu hunain Fab Duw, gan ei osod yn watwar," y maent eisoes mewn dyfnder anghyrhaeddadwy i reffynau trugaredd. Ond gan nad beth ydyw diweddiad echryslon ac anfeddyginiaethol "syrthio ymaith," tybia yr Apostol, i ddybenion ymresymol, fod y fath drychineb yn bosibl.

Yr ail dybiaeth,

*Fod yn annhebyg iawn y bydd i'r fath drychineb ddygwydd yn hanes pobl Dduw.* Y mae hyny yn annhebyg, a dweyd y lleiaf, a hyny am y rheswm hwn, eu

bod wedi eu dyrchafu o radd i radd, o brofiad i brofiad, o esgynlawr i esgynlawr, i binacl uchaf crefydd yn y byd hwn. Y maent wedi eu trosglwyddo, drwy nifer o oruchwyliaethau trugarog, i'r cyflwr diogelaf y gall crefydd osod dyn ynddo yn y byd hwn. Edrycher ar weithrediadau olynol a dyrchafol gras ar eu cyflyrau, fel y dangosir hwy yn mrawddegau desgrifiadol yr adnodau.

(*a.*) Arllwyswyd goleuni dwyfol i'w heneidiau ar adeg argyhoeddiad, "a *oleuwyd* unwaith." Gwelsant eu bod yn fythol anobeithiol am ddedwyddwch ynddynt eu hunain, ac yn llewyrch efengyl gogoniant y bendigedig Dduw, cawsant olwg ar Iesu Grist yn bob peth ar eu cyfer.

(*b.*) Agorasant eu calonau i dderbyn yr iachawdwriaeth. "A brofasant y rhodd nefol." Daethant felly i fwynhad o faddeuant, cyfiawnhad, mabwysiad, &c.

(*c.*) Gwnaethpwyd hwy yn gyfranogion o ddylanwad sancteiddiol, ac o ddoniau cyfarwyddol yr Ysbryd Glan. "Ac a wnaethpwyd yn gyfranogion o'r Ysbryd Glan."

(*d.*) Gosodwyd yn eu heneidiau dystiolaeth brofiadol o wirionedd a gwerth yr Ysgrythyrau. "A brofasant ddaionus air Duw."

(*e.*) Y maent wedi eu gosod i fyw o dan ddylanwad cymellion y byd a ddaw. "A nerthoedd y byd a ddaw." Bellach y mae eu serch ar y pethau sydd uchod, eu dinasyddiaeth yn y nefoedd, a thrwy rym y cynorthwyadau a ddaw iddynt o'r byd arall y maent yn gwneyd gwrhydri yn y byd hwn.

Adystyrier drachefn y pethau mawrion a ddywedir

am danynt. Beth? Eu bod yn eu hargyhoeddiad wedi derbyn iachawdwriaeth; eu bod ar ol derbyn yr iachawdwriaeth wedi dyfod yn demlau i'r Ysbryd Glan; eu bod, er pan feddianwyd hwy gan yr Ysbryd Glan wedi dyfod i wledda yn wastadol ar air Duw; ac yn olaf, eu bod ar ol ymgolli mewn myfyrdodau crediniol yn y Gair, wedi dyfod i fyw o dan swynion y byd tragywyddol. Yn sicr y mae y bobl y gellir dweyd y cyfryw bethau am danynt yn y cyflwr diogelaf y gall gras eu dodi yn y sefyllfa bresenol.

Y drydedd dybiaeth,

*Y byddai dysgyblion Crist, er y cwbl, yn anadferadwy golledig, pe y syrthient o afael eu rhagorfreintiau achubol.* "Canys anmhosibl yw i'r rhai a oleuwyd unwaith, ac a brofasant y rhodd nefol, * * * ac a syrthiant ymaith, *ymadnewyddu drachefn i edifeirwch.*" Arferir yr iaith fwyaf bendant, a dywedir—nid fod ymadnewyddiad drachefn i edifeirwch yn *anhawdd*, ond ei fod yn hollol *anmhosibl.* Ac nid ydyw yn anhawdd deall yn mha weddau y mae yn anmhosibl.

Meddylier am y cwestiwn. Y dyn sydd yn troi ei wyneb *at* Grist, ac nid y dyn sydd yn troi ei wyneb *oddiwrth* Grist, sydd yn edifarhau. Nid yn Sinai, ac nid mewn hunan-aberth y mae sail edifeirwch, ond yn yr Iesu croeshoeliedig; ac nid ydyw edifeirwch, ar wahan i Grist, bydded mor ddyfned ag uffern, yn cysylltu neb a maddeuant pechodau. Nid barn ar watwarwr y Mab ydyw calon-galedwch, ond canlyniad naturiol ei weithredoedd ef ei hunan. Ac heblaw hyny, os ydyw y cyfryngau a apwyntiodd Duw i

gynyrchu edifeirwch i fywyd wedi profi yn aneffeithiol ar y rhai a syrthiasant ymaith, rhaid fod eu hadferiad yn gwbl anobeithiol. Os ydyw doethineb a chariad anfeidrol, yn yr ymddyweddigarwch llwyraf, wedi methu, pwy a lwydda? Y mae pethau cryfaf Duw wedi eu harfer. Nid oes ganddo Ef well goleuwawl nag efengyl. Y nerthoedd mwyaf y gall Duw eu dwyn i weithredu ar ddyn yn y byd hwn ydynt "nerthoedd y byd a ddaw." Adgenedlwyd y dyn y tro cyntaf gan yr Ysbryd Glan; pa ysbryd arall a geir i'w adgenedlu drachefn? A geir Bethlehem arall? A oes rhagor nag un Calfaria? Wedi i un Beibl fethu, a oes gan yr Arglwydd Feibl arall? Na, nid oes angen i'r rhai sydd wedi eu goleuo, wedi derbyn y rhodd nefol, ac wedi eu gwneyd yn gyfranogion o'r Ysbryd Glan, "osod i lawr drachefn sail i edifeirwch oddiwrth weithredoedd meirwon" (adn. 1af), oblegid y mae y cyfnewidiad a effeithiwyd arnynt yn wystl dwyfol a digonol, y bydd iddynt barhau yn ansigledig hyd ddydd Crist. Cyn y gall gwir Gristion syrthio ymaith, y mae yn rhaid i anianawd gras Duw gyfnewid; y mae yn rhaid i ffydd yn yr enaid lwyr ddiffodd, ac y mae yn rhaid i arfaethau y Duw annghyfnewidiol droi allan yn freuddwydion siomedig. Yn naturiol felly, oblegid y sicrwydd hwn o barhad a chynyddiad, y dywed yr Apostol wrth yr Hebreaid, "Eithr yr ydym ni yn coelio am danoch chwi, anwylyd, bethau gwell, a phethau yn nglyn wrth iachawdwriaeth, *er ein bod yn dywedyd fel hyn* (adn. 9fed).

I ba beth ynte y cythruddir Cristionogion drwy gyfeirio at ddinystr tybiedig? Y mae llawer o

resymau, ac yn eu mysg a ganlyn: Y ffordd effeithiolaf i berswadio dyn i ddal ei afael yn Nghrist, ydyw galw ei sylw at y ffaith, pe y gollyngai ef, yr ymddrylliai yn dragywyddol ar greigiau y damnio. Heblaw hyny, os ydyw syrthio ymaith yn golygu y fath ddinystr, y mae cadwraeth rhagddo yn rhwym o gynyrchu moliant i'r Ceidwad yn oes oesoedd. Ac heblaw hyny, os ydyw cadwedigaeth yn sicr, er y perygl—dyma reswm newydd dros fyned yn mlaen at berffeithrwydd. Chwythed y gwyntoedd, uded y tymestloedd, a chynhyrfed eigionau y dyfnder, ni chymer llongddrylliad le, oblegid yr Hollalluog ydyw cadben y llong.

---

## AMYNEDD JOB A DIWEDD YR ARGLWYDD.

"Wele, dedwydd yr ydym yn gadael y rhai sydd ddyoddefus. Chwi a glywsoch am amynedd Job, ac a welsoch ddiwedd yr Arglwydd: oblegid tosturiol iawn yw yr Arglwydd, a thrugarog"—IAGO v. 11.

### YMHOLIADAU.

Pa beth ydyw amcan Iago yn cyfeirio at amynedd Job wrth ysgrifenu at y deuddeg llwyth? Pa beth a feddylia wrth ddiwedd yr Arglwydd, ai y diweddiad a osododd yr Arglwydd ar gystuddiau Job, neu ynte ddiweddiad bywyd daearol yr Arglwydd Iesu Grist? Yn mha ystyron y mae amynedd Job a diwedd yr Arglwydd yn arddangosion o drugarawgrwydd Duw?

Y mae eglurhad y geiriau hyn yn gorwedd yn

ffordd tri o osodiadau syml. Y gosodiad cyntaf, *Fod y rhai yr ysgrifenai Iago atynt yn ddyoddefwyr.* Gan mai "apostol yr enwaediad" ydoedd Iago, yr enw a rydd efe ar y saint a gyfarcha ydyw "y deuddeg llwyth sydd ar wasgar." Golyga y dynodiad "deuddeg llwyth," o'i ysgrifell ef, Israeliaid yn ol yr ysbryd, ac nid yn ol y cnawd, ac y maent yn cynwys canlynwyr Crist yn nhalaethau Judea. Mewn trefn i ddeall nodwedd eu dyoddefaint hwy, rhaid mordwyo dros foroedd, teithio dros gyfandiroedd, llamu dros genedlaethau, a glanio yn Asia, yn Asia Leiaf. Os am weled eu sefyllfa gymdeithasol, wleidyddol a chrefyddol, y mae yn angenrheidiol goleuo llusern hanesiaeth, a throi ei llewyrch i gyfeiriad cyfnod cyntaf yr oes apostolaidd. Wedi gwneyd hyny, ceir gweled yno frodyr yn gwahaniaethu oddiwrth frodyr, teuluoedd yn ymranu oddiwrth deuluoedd, cenedl yn cyfodi yn erbyn cenedl, a theyrnas ar wneyd ymosodiad ar deyrnas arall. Y canlyniad ydyw fod newyn, nodau, heintiau a gofidiau, yn ymdori dros yr holl boblogaeth. Mewn gwahanol gyfeiriadau, cyfyd arweinwyr gwahanol bleidiau, a gwneir i fyny y pleidiau o ddynion ysbeilgar a llofruddiog. Dengys Jonathan ei ben yn Cyrene; ymddengys Iesu, fab Saphat, yn Tiberias; cyfyd Ioan, fab Lefi, ei lef yn Galilea; ac yn Jerusalem y mae Eliazer yn llawn cynddaredd. Amcan proffesedig y gwrthryfelwyr hyn ydoedd taflu ymaith yr awdurdod a osodwyd arnynt gan Alexander, ac a barhawyd gan Nero, ac fel canlyniad, cael eu gwlad a'u hunain yn rhydd. Yr oedd arogl marwolaeth yn mhob cyfeiriad, a dolef y lladdedig yn

mhob cymydogaeth. Canlyniad hyn oll ydoedd, nid yn unig gosod ceidwaid y trysorfeydd cyhoeddus, megys Antipas, Lefias, &c., mewn rhwymau ac angau, ond hefyd trosglwyddo y gwasanaeth crefyddol i ddwylaw anghysegredig. Gwaeth na hyny, yr oedd byddinoedd Rhufain wedi dyfod i'r wlad. Clywodd Nero yn Rhufain fod ei awdurdod yn Judea yn cael ei herfeiddio, ac anfonodd Vespasian, y Vespasian nad oedd, hyd yn nod yn mysg y cadfridogion Rhufeinig, neb yn gyffelyb iddo mewn dewrder a doethineb, i ddarostwng y gwrthryfel. Daeth ei fab Titus i'w gyfarfod gyda ei lengau o Syria, fel y safai can' mil o filwyr Rhufain ar y tir sanctaidd. Y mae yr ymgyrch yn cael ei dechreu yn Ascelon, yn cael ei dilyn yn mlaen i Gadara a Jotapata, i Gamala a Gischala, ar draws Tiberias at furiau y ddinas sanctaidd. Beth am ganlynwyr yr Iesu yn y fath gythrwfl? Fel y gellid dysgwyl, gwrthodasant hwy ymuno a'r penboethiaid terfysglyd, ac fel canlyniad bodolai y teimladau mwyaf ellyllig tuag atynt. Yr oedd eu perthynas hwy â Christ yn eu gwneyd yn gyfeillion trefn, gonestrwydd a heddwch, ac oblegid hyny, cyhoeddwyd hwy yn fradwyr eu gwlad, ac yn elynion eu cenedl. Gwir iddynt hwy, fel y gellid dysgwyl, ac fel yr addawsai Crist cyn i'r gyflafan ddyfod, ddianc gyda eu bywydau; er hyny, yr ydoedd tymor y dialedd mor gynddeiriog, a pharhad y rhyferthwy mor faith, fel nad ydyw yn un syndod i ddysgyblion Crist "syrthio mewn amryw brofedigaethau." (Pen. i. 2.)

Yr ail osodiad,

*Fod rhai eraill o blant Duw, heblaw y rhai yr ys-*

*grifenai Iago atynt, wedi bod yn ddyoddefwyr.* "Cymerwch fy mrodyr, y prophwydi, y rhai a lefarasant yn enw yr Arglwydd, yn siampl o ddyoddef blinder, ac o hir-ymaros" (adn. 10fed). Ond yr engraifft ryfeddaf welodd y byd erioed, ac fe ddichon a wel byth, o berson yn dyoddef oblegid ymlyniad wrth uniondeb, ydoedd y patriarch o wlad Us. Ni fuasai unrhyw restr o ddyoddefwyr yn gyflawn heb ei fod ef ynddi, ac oblegid hyny y dywed Iago, "Chwi a glywsoch am amynedd Job," &c. Yr oedd i gystudd y y patriarch dair ffynonell; un yn ddieflig, y llall yn deuluaidd, a'r llall yn gymdeithasol. Cydrhwng dylanwadau y tair ffynonell, dinystriwyd ei iechyd, ei amgylchiadau, ei deulu, ei gwbl.

*Yr oedd a fyno Satan a'i oddefaint.*

Yn y chwareugerdd nefol sydd yn ei ddarlunio, gosodir y diafol allan yn ymddangos yn nghyngor Duw, ac yno, yn nghlyw gweinidogion yr orsedd, yn gwneyd gosodiad mai *hunan-les* ydoedd dirgelwch crefydd Job. Gwna yr haeriad nad oedd eisiau i'r Arglwydd ond yn unig fyned a'r cwbl oddiwrth Job, yr elai Job a'r cwbl oddiwrth yr Arglwydd, ac y troai fel sarph ar ei chynffon i saethu glafoerion melldith i'w wyneb. Derbyniwyd yr herfeiddiad; cafodd Satan lywodraeth ystafelloedd y gwynt, a thywysogaeth elfenau tanllyd y cread, fel yn fuan iawn trowyd pibellau dinystriol y peiriant creadigol at nyth Job, a chwystrellwyd cymaint o dân ac o ddwfr arno fel yr aeth yn esgyrnion mân oddiwrth ei gilydd. Pwy all synied am fawredd y dyoddefaint hwn i wr cyfoethog iawn? Wedi methu yn y prawf cyntaf, desgrifir Satan eil-

waith yn disgyn fel brân ddu yn nghanol gweinidogion gwynion Duw, pan safent yn rhengau o flaen yr orsedd i dderbyn eu cenadwriaethau i wahanol ranau yr ymerodraeth. Y waith hon haera mai *hunan-ddiogelwch* ydoedd y rheswm fod Job yn parhau yn ei berffeithrwydd. Dywed, "Croen am groen, a'r hyn oll sydd gan wr a ddyry efe am ei einioes." (Job ii. 4.) Yna y mae Satan yn cael caniatad i wneyd ymbrawfion ar groen Job (er gweled ai yn ei groen yr oedd ei grefydd), ac felly yn ei daro a chornwydydd blin, o wadn ei droed hyd goryn ei ben. Pwy all amgyffred angerddoldeb ei boenau yn ymgrafu a chragenau ar ludw y domen?

*Yr oedd a fyno ei wraig a'i ddyoddefiadau.*

Tra y bu muriau Rhagluniaeth yn gyfain ac uchel o amgylch Job a'i deulu, yr oedd ei wraig yn penlinio mor ddefosiynol a neb yn y wlad; ond pan dynwyd y muriau yn gydwastad a'r llawr, aeth yn atheistaidd hollol yn ei holl deimladau. Rhyw belen eira oedd hi; pan daflwyd hi i'r ffrwd, ymwasgarodd, toddodd, ac ymgollodd ynddi. Ond am Job ei hun, callestr, cwrel, aur, diemwnd, ydoedd ef, ac felly daliodd yn anghyfnewidiol yn yr holl gyfnewidiadau. Aeth ei wraig ei hun yn ei erbyn. Peth difrifol i ddyn ydyw cael diafol drwg yn ei erbyn, ond y mae yn waeth fyth pan y mae gwraig ddrwg gyda diafol drwg yn uno i ymosod arno. Y fath drallod raid fod yn enaid y patriarch pan glywai ei wraig ei hunan yn ei gymell i ymdaflu i lynclyn diwaelod anobaith!

*Yr oedd a fyno adnabyddiaeth gymdeithasol a dyfnder ei drallod.*

Darlunir ei gyfeillion, wedi ei ddarostyngiad, megys oddiar esgynlawr, yn traddodi areithiau er profi na fu ef erioed yn ymddiried yn wirioneddol yn Nuw, ac fod ei holl gystuddiau yn brawfion o'i ragrith. Yr oedd cyfeillion y palas wedi troi yn elynion y domen, ac adfloeddiadau ffawd wedi dystewi yn ngruddfanau y cornwydydd. Gwelai y rhai a arferent ei gyfarch, gan ddiddosi eu penau pan farchogai heibio fel prif ynad ei wlad, wedi cyfnewid cymaint fel y ffieiddient ei ymddangosiad. Ac y mae cyfeillgarwch wedi ei drawsnewid i gasineb, y nwyd greulonaf mewn bod. 'Does dim ffydd ganddo, meddai Eliphaz; un celwyddog ydyw, meddai Sophar; un rhyfygus ydyw, meddai Bildad; un hynod o chwyddfawr ydyw, meddai Elihu. Nid rhyfedd i'r prif-fardd Hiraethog ganu iddynt, a dyweyd:

"Eliphaz yn ddygasog—a Sophar
Fel hen sarph wydorchog;
Elihu yn canu fel côg,
A Bildad yn cnoi fel *bulldog.*"

Pan oedd y patriarch yn yr amgylchiadau hyn, ac yn nyfnder pruddglwyfedd o'u herwydd, y cyfansoddodd y duchangerdd oreu a fedd y byd. Mor fawreddog y dymuna am i noswaith ei eni gael ei chadw allan o orymdaith y nosweithiau, ac am i ddydd ei ddyfodiad gael ei nodi allan yn eithriad ddianrhydeddus yn mysg dyddiau y ddaear. (Gwel Job iii. 1–26.)

Y trydydd gosodiad,

*Fod dyoddefiadau plant Duw yn y gorphenol wedi bod yn achlysuron datguddiad tosturi a thrugaredd yr*

*Arglwydd tuag atynt.* "Wele, dedwydd yr ydym yn gadael, (nid y rhai *sydd ddyoddefus*, ond fel y cyflëir y frawddeg yn y cyfieithiad diwygiedig,) "y rhai *a ddyoddefasant.*" Y mae hi yn ddeddf yn llywodraeth Duw, pan y mae dyn yn cael ei daflu i ffwrnes dyoddefaint, oblegid ei bechod ei hunan, ei fod yn sicr ó gael ei rostio wrthi, neu ei losgi ynddi; o'r tu arall, os bydd yr Arglwydd, yn ei gyngor nefol, yn caniatau i Satan daflu ei anwyliaid i'r fflam, a hyny er atal cylchdaeniad celwydd yn ei ymerodraeth, y mae Dull y Pedwerydd yn ddieithriad yn ymddangos. Ni cha y rhai a ddyoddefant, tra yn dangos gwerth crefydd yn y byd hwn, neu ynte tra yn clirio cymeriad Duw yn ngolwg y greadigaeth ysbrydol ac anweledig, fod heb y wobrwy wrthbwysol. Y mae gwirionedd parhaol yn ngeiriau Crist ar y mynydd: "Gwyn eu byd y rhai a erlidir o achos cyfiawnder: canys eiddynt yw teyrnas nefoedd. Gwyn eich byd pan y'ch gwaradwyddant, ac y'ch erlidiant, ac y dywedant bob drygair yn eich erbyn er fy mwyn i, a hwy yn gelwyddog. Byddwch lawen a hyfryd: canys mawr yw eich gwobr yn y nefoedd: oblegid felly yr erlidiasant hwy y prophwydi a fu o'ch blaen chwi." (Math. v. 10–12.)

A chafodd Job, mewn modd eglur, yr adsefydliad mwyaf gogoneddus ar drumanau uchelaf ei lwyddiant, drwy ymyriad yr Hollalluog. Adgofia Iago i ddyoddefwyr y deuddeg llwyth, i'r rhai yr oedd golygfeydd bywyd y patriarch mor gyfarwydd, eu bod nid yn unig yn adnabyddus o'i drallodion, ond hefyd yn adnabyddus o'r modd y diweddwyd ei ofwyau yn llawenydd ei adferiad. "Chwi a glywsoch am amynedd

Job, ac a welsoch *ddiwedd yr Arglwydd.*" Yr ydym yn gwybod fod Augustin, ac ar ei ol ef Bede, Lyra, Estius, Westein, &c., wrth ddiwedd yr Arglwydd yn golygu eithaf-bwynt darostyngiad Mab Duw, ac felly yn ei ddwyn yntau yn mlaen, megys y prophwydi a Job, yn engraifft o ddyoddefydd a goronwyd drachefn a gogoniant. Dyma fel y dywed Augustin: "Pa ddiwedd yr Arglwydd? 'Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?' Y rhai hyn ydynt eiriau ein Harglwydd pan yn hongian ar y pren, megys pe byddai Efe (Duw) wedi ei adael mor belled ag yr oedd gwynfydrwydd presenol yn myned, ond nid wedi ei adael o ran anfarwoldeb tragywyddol. *Dyna* ddiwedd yr Arglwydd; yr Iuddewon yn ei ddal, yr Iuddewon yn ei rwymo; coronant ef a drain, halogant ef a phoeredd; y maent yn ei fflangellu, yn ei orchuddio a chabledd; hongiant ef ar y pren, trywanant ef a gwaewffon; ac yn olaf, claddant ef. Y mae megys wedi ei adael. Ond gan bwy? Gan y dynion cablaidd yna. Bydd dithau hefyd o ganlyniad yn amyneddgar, fel y gelli gyfodi eto heb farw; hyny yw, fel nad elli farw mwy, ond bod fel Crist, am yr hwn y darllenwn: "Gan wybod nad yw Crist, yr hwn a gyfodwyd oddiwrth y meirw, yn marw mwyach." (Rhuf. vi. 9.) Ond gan nad pa un ai cyfeirio y mae Iago at ollyngiad Crist i law ei fwrddwyr, neu ynte at ddychweliad caethiwed Job (er mai gwell genym ni gredu yr olaf), y mae yr addysg yr un, sef fod dyben i holl brawfiedyddion pobl Dduw; fod trugaredd ddwyfol yn ymgysgodi y tu cefn i'r holl ddybenion, ac y daw diweddiad gogoneddus holl brofedigaethau y duwiolion yn

adnabyddus. Mor ardderchog yr ymddengys prif arwr gwlad Us ar ol i ystormydd ei fywyd fyned heibio. Yr ydym yn cael golwg arno yn sefyll, gan estyn allan ei law i dderbyn mawrhad ac anrhegion ei gydwladwyr; yn sefyll, gan edrych ar ddwy fil ar hugain o anifeiliaid oedd Rhagluniaeth wedi anfon yn anrhegion neillduol iddo, a'r cwbl yn loew-ddu gan frasder ei feusydd; yn sefyll, a chanddo ddeg o blant eto, fel cerubiaid gogoniant yn lledu eu hedyn amddiffynol drosto, a chyn tynu y llen i lawr dros olygfa olaf ei fywyd, ceir golwg arno yn marw, yn marw yn hen, yn marw yn llawn o ddyddiau, yn marw yn ardderchog, yn engraifft fythol o dynged diweddol cyfaill Duw, a gorchfygwr Satan.

Y mae y geiriau yn dysgu

(*a.*) *Fod y rhai goreu o blant Duw yn agored i'r trallodion chwerwaf.* Hyn fu rhan y prophwydi, Job, yr apostolion, a Christ ei hunan. Ac yn fynych iawn y dyn duwiolaf ydyw y dyoddefydd mwyaf. Gwnaethpwyd Job yn faes brwydr rhwng Duw a Satan, nid am ei fod y gwaelaf yn y wlad, ond am nad oedd gyffelyb iddo ar y ddaear. Ni fuasai yr Arglwydd yn caniatau yr ystorm, oni buasai fod gwreiddyn y mater wedi ei gael ynddo. Fe fyddai yn ormod o anturiaeth, hyd yn nod i Dduw, i osod ambell un mewn prawf mawr!

(*b.*) *Fod gwir grefydd yn sicr o ddal pob prawf a osodir arni.* Yn y tywydd mawr y profir crefydd. Darganfyddodd yr hen athronydd Archimedes, fod arian yn gymysgedig â'r aur yn nghoron Hiero, brenin y Syrcansiaid, wrth wneyd ymbrawfion mewn baddon. Un diwrnod, tra yn y baddon yn ymlanhau, neid-

iodd allan, a gwaeddodd "Eureka! Eureka!" Aeth adref; cafodd afael ar ddarn o aur ag oedd yn hollol bur, ac wrth osod hwnw yn y baddon, gwelai ei fod yn pwyso gymaint bedair gwaith ar bymtheg a'r dwfr. Yn ganlynol, dododd goron Hiero yn yr un dwfr, a gwelai nad ydoedd hono yn pwyso ond deunaw gwaith gymaint a'r dwfr, ac felly fod yn rhaid fod un ran o bedair ar bymtheg o honi yn rhywbeth heblaw aur. Ystyrid yr ymresymiad yn gywir, a'r darganfyddiad yn glodadwy. Y mae profiad ffydd yn werthfawrusach na'r aur colladwy, ac y mae yn ddichonadwy ei brofi yntau yn maddonau trallodion y ddaear. Y mae miliwnau wedi eu galluogi i ddweyd yn y peiriau poethaf, "Wedi iddo fy mhrofi, myfi a ddeuaf allan fel aur." (Job xxiii. 10.)

(*c.*) *Fod yn ddyledswydd arnom arfer amynedd yn mhrofedigaethau bywyd.* Bu Job yn amyneddgar, ac yr oedd ei ddiwedd yn ogoneddus. Y mae cofianau miloedd eraill yn profi fod goruchwyliaethau chwerwon y ddaear wedi troi allan, nid yn ddinystriol, ond yn adferiadol; ac wedi myned allan o honynt, cawsant olwg newydd ac ardderchog ar gymeriad trugarog yr Arglwydd.

"O fryniau Caersalem ceir gweled,
Holl daith yr anialwch i gyd;
Pryd hyny bydd troion yr yrfa
Yn felus i lanw fy mryd;
Caf edrych ar stormydd ac ofnau,
Ac angeu dychrynllyd a'r bedd,
A minau 'n ddiangol o'u cyrhaedd,
Yn nofio mewn cariad a hedd."

## GWEDDI Y FFYDD YN IACHAU Y CLAF.

"A gweddi y ffydd a iacha y claf, a'r Arglwydd a'i cyfyd ef i fyny."—IAGO v. 15.

Nid deall geiryddiaeth y testyn hwn ydyw yr anhawsder. Mor belled ag y mae ystyr ei eiriau yn myned, nid ydyw wedi achlysuro unrhyw ddadl o bwys. Cytunir yn weddol gyffredin mai afiechyd corph, ac nid afiechyd meddwl neu ysbryd, ydyw yr afiechyd y dywed Iago y gall gweddi y ffydd ei symud. Gwir fod rhai fel Lyra, Schneckenburger, &c., yn credu y gall gynwys anhwylderau corphorol ac ysbrydol, ond y rheol ydyw cyfyngu yr anhwylder tybiedig i'r cyfansoddiad allanol. Ac y mae hyny yn cael ei wneyd yn orfodol gan y cysylltiadau. Ni fuasai yr Apostol yn cyngori eneinio y corph ag olew er dwyn oddiamgylch wellhad enaid; a thrachefn, yn y frawddeg sydd yn dylyn yr uchod, y mae perthynas eiriolaeth yr henuriaid ag enaid y claf yn cael ei wahaniaethu, "ac os bydd wedi gwneuthur pechodau, hwy a faddeuir iddo." Ac nid ydyw graddau y clafychdod, ychwaith, yn destyn dadl. Nid y meddylddrych arweiniol ydyw perygledd y clefyd; yn hytrach gallu gweddi y ffydd i'w iachau. Y mae i'r gair a gyfieithir yma yn *claf*, yn ddiau, ddau ystyr mor belled ag y mae graddau yn myned, megys afiechyd cyffredin, ac afiechyd marwol. Gellir cael engraifft o hono yn golygu y naill a'r llall yn Luc iv. 40, a Luc vii. 10. Yn y geiriau hyn, yn ddiau, golygir un dan ddylanwad af-

iechyd dygn a phoenus, yn wan ac isel, ond nid mewn perygl uniongyrchol.

Ac nid ydyw yr ymadrodd "gweddi y ffydd," yn annealladwy. Fel y dywed Meyer, gosodir allan y ffydd oedd yn eneidiau yr henuriaid yn offrymu gweddi, ond gofalir dweyd, fel y dywed Burkit, fod effeithioldeb y ffydd, nid ynddi hi ei hunan, ond yn ei gwrthddrych, "a'r Arglwydd a'i cyfyd ef i fyny." Y mae yn eglur yn mhellach, fod gan nid yn unig yr henuriaid, ffydd, ond hefyd fod y claf tybiedig yn proffesu ac yn ymarfer ffydd yn Nuw, ei hunan. Nid yn unig yr oedd yn rhaid iddo fod yn un o'r dysgyblion "yn eich plith," ond rhagor, fel prawf o'i ffydd yr oedd yn rhaid iddo "alw ato henuriaid yr eglwys." Felly yr oedd yma ffydd yn y claf, a ffydd yn yr henuriaid, ac mewn awyrgylch felly, yr ydoedd yn hawdd i'r gallu dwyfol weithredu.

Y mae anhawsderau yr adnod yn gorwedd, nid yn y geiriau a geir ynddi, ond yn y defnydd athrawiaethol a wneir o honi. Dadleuir ei bod yn dysgu fod gan Gristionogion yn yr oes hon, a phob oes arall, allu i iachau pob clefyd ac afiechyd yn mhlith y bobl. Nid Pabyddion sydd yn deongli felly yn unig, ond Protestaniaid hefyd. Flynyddau yn ol, ymddangosodd plaid o bobl ("The Peculiar People"), y rhai a wrthodent bob math o feddyglynau, o herwydd y deongliad hwn o eiriau Iago. Yr oedd y canlyniad, wrth gwrs, yn drychinebus; a chan na oddef cymdeithas i fywyd dynol gael ei aberthu ar allor opiniynau crefyddol, daeth cyfraith y tir yn mlaen gan fygwth erlyniad a chosb. Yn y blynyddau diweddaraf, y mae honiadau o alluoedd meddygol drwy ffydd, wedi dyfod yn lluos-

og a thabyrddus, a'r cwestiwn felly wedi cael cyhoeddusrwydd mawr. Cyhoeddir yn wythnosol, yn y newyddiaduron, enwau a phreswylfeydd personau a fuont yn orweddog ac afiach dros flynyddau, ond a iachawyd yn fywydol drwy y gweddiau a offrymid ar eu rhan.

Ymresymir, gan nad oes gwahaniaeth rhwng afiechyd, ffydd, a gweddi, yn awr rhagor yn nyddiau Iago, y gellir cael y golygfeydd perthynasol iddynt yn yr oes hon, fel yn yr oes hono, ac nad ydyw iachad cleifion ond adferiad crefydd i'w gogoniant cyntefig, wedi canrifoedd o ddirywiad galarus. Cymwysir at y pwnc hwn yr hyn sydd yn wireb mewn cysylltiadau eraill, fod yr un galluoedd, *tra yn gweithredu o dan yr un amgylchiadau* (?) yn rhwym o gynyrchu yr un effeithiau. Felly, yr

YMHOLIAD

mawr y mae ymdriniad a'r geiriau hyn yn ein gorfodi i'w gyfarfod, ydyw: Pa un ai gallu cyfyngedig i'r oes apostolaidd, neu ynte gallu meddianedig gan eglwys Crist yn mhob oes, ydyw y gallu i iachau cleifion? Mewn gair arall, pan ddygwyddo aelod eglwysig fyned yn glaf, pa beth ydyw ei ddyledswydd, anfon am y meddyg, neu ynte anfon am henuriaid yr eglwys? Os ydyw y gallu i iachau yn yr eglwys yn awr, paham na b'ai ei haelodau yn mwynhau anfarwoldeb daearol?

Mewn atebiad, sylwer yn

1. *Fod bendithion tymorol wedi eu gosod o fewn cylch gweddiau pobl Dduw.* Yn ol y Beibl, gall y creadur ofyn i'r Creawdwr am fara, am ddillad, am iechyd, am ddiogelwch, &c. Cydnebydd y rhai a

wawdiant y drychfeddwl o ofyn i Dduw am gyfnewid cwrs deddfau anian, y gellir gofyn i'r Arglwydd roddi i ddyn y gyfran helaethaf o ffrwyth eu gweithrediadau arferol. Dysgodd Iesu Grist ei ddysgyblion i ofyn am eu bara naturiol, a thrwy hyny, lleolodd fendithion rhagluniaethol ar restr eirchion ei bobl. Y mae iechyd, yn ogystal a'i gadwraeth oreu, ei adferiad, yn fendith dymorol anmhrisiadwy.

2. *Fod gwir weddi yn cynwys, nid yn unig apeliad at Dduw am fendithion, ond hefyd yr ymddiriedaeth lwyraf yn ei garedigrwydd a'i ddoethineb, serch ei fod yn eu hatal oddiwrthym.* Un o elfenau hanfodol gweddi y ffydd ydyw ymostyngiad. Y mae gwir ffydd yn arwain y gweddiwr, nid i hawlio gan Dduw i'w ateb yn y modd, ac ar yr amser y myn efe, eithr yn hytrach i ddatgan ei deimlad o angen, gan adael y cyflawniad at ewyllys Duw. Ysbryd hunan-falch ac anghrediniol sydd yn cymell dynion i hawlio gan Dduw weithredu fel y byddont hwy yn dewis. Y mae gwir ffydd yn gallu gorfoleddu yn Nuw pan yr ymddengys yn gomedd caniatau y fendith a geisir, *yn y ffurf y ceisir hi*, gan gredu y ceir bendith mewn ffurf well, ac ar amser rhagorach, yn unol â hollwybodaeth a charedigrwydd y cyfranwr mawr. Ymddengys i ni fod gosod yr Arglwydd mewn prawf fel gwrandawr gweddi, o flaen cynulleidfa o bobl, gan ei gyfyngu i iachad person claf, yn arogli yn gryf o ryfyg ansanctaidd. Y mae y fath ymdrech i gornelu Duw ar faterfelly yn drwyadl anghyson â ffydd fabaidd ynddo.

3. *Fod yr Arglwydd wedi arfer gwrando gweddiau ei bobl, mewn undeb a chydweithrediad o'u tu hwy.*

Yn yr achos a dybir yn y geiriau dan sylw, cyfarwyddir henuriaid yr eglwys, nid yn unig i weddio am adferiad y claf, ond hefyd cyn gweddio, i ddefnyddio moddion adferiad, sef olew. Pan yr oedd gwyddoniaeth feddygol yn ei mabandod yn y Dwyrain, yr oedd olew yn gyffir poblogaidd. Ac y mae Niebuhr yn cyfrif am ei effeithiau iechydol drwy ddweyd, "fod olew, drwy gau i fyny chwysdyllau y croen, yn atal y trydarthiad (*transpiration*) gormodol hwnw sydd mor wanychol i'r cyfansoddiad. Y mae genym dystiolaeth bendant fod y deuddeg apostol, er eu holl alluoedd gwyrthiol, yn arfer olew. "Ac a fwriasant allan lawer o gythreuliaid, ac a eliasant ag olew lawer o gleifion, ac a'u hiachasant." (Marc vi. 13.) Nid y cymwysiad o'r olew oedd yn iachau, mae yn wir; ar yr un pryd ymddengys fod yr eneiniad ag ef yn gynorthwy i ffydd y claf. Yr oedd hyd yn nod yr Arglwydd Iesu ei hunan, ar amserau, yn defnyddio cyfryngau. (Marc vii. 33; viii. 23; Ioan ix. 6.) Nid pa un a allasai Crist a'i apostolion effeithio iachad heb gyfryngau ydyw y pwnc; gwyddom y gallent, a'u bod yn fynych yn gwneyd; eithr os y darfu iddynt hwy wneyd hyny, pan yn meddu gallu gwyrthiol, yn sicr dylai y rhai a broffesant ddylyn eu hesiampl wneuthur yr un peth. Y watwariaeth fwyaf dirmygus i Gristion deallgar, ydyw clywed dynion yn gofyn i Dduw gyfranu bendithion ei ragluniaeth yn gwbl ddigyfrwng, ac heb un ymdrech o'u tu hwy. Y cwbl a wna Duw mewn rhagluniaeth, fel mewn gras, ydyw darparu y feddyginiaeth, galw sylw y claf ati, ac mewn atebiad i'w weddi, a'r defnyddiad o honi, ei bendithio er ei adferiad. Byddai yr un peth yn union

ddysgwyl ymddigoniad heb fwyta bara, ag a fyddai dysgwyl gwellhad yn annibynol ar foddion. Oblegid yn

4. *Fod iachad dyn yn hollol ddigyfrwng, yn cynwys y ffurf egluraf o allu goruwch-naturiol.* Er fod defnyddiad cyfryngau, ar rai achlysuron, yn gyd-fynedol â chyflawniad gwyrthiau, eto nid oedd cyfryngau yn hanfodol i wyrthiau. Yn mwyafrif gwyrthiau y Beibl, y cwbl welir ydyw, y gallu dwyfol yn ei effeithiau gweledig; a phob tro y defnyddiwyd cyfryngau, gwnaethpwyd hyny, nid am nad allasid cyflawni y gwyrthiau hebddynt, eithr yn hytrach er cadarnhau ffydd yn y posiblrwydd o honynt. Yr oedd y gallu gwyrthiol yn meddiant henuriaid yr eglwysi apostolaidd, at ba rai y cyfarwyddai Iago y claf i anfon. Yr oedd yr henuriaid yn urdd o swyddogion perthynol i bob eglwys. (Act. xiv. 23; Titus i. 5.) Perthynai iddynt hwy y gwaith o lywodraethu, yn ogystal a llafurio yn y gair ac yn yr athrawiaeth. (1 Tim. v. 17.) Yn mhob golygiad, megys yr esgobion a'r diaconiaid, yr oeddynt yn ddynion cyfrifol a sanctaidd. Ar adeg eu neillduaeth i'r swydd, y mae yn eglur fod yr apostolion yn ymwybodol o bwysigrwydd ac urddas y swyddogaeth. (Act. xiv. 23.) Ar restr doniau yr Ysbryd Glan i eglwys y cyfnod hwnw, enwir "y dawn i iachau." (1 Cor. xii. 9.) Oddiwrth eiriau Paul, y mae yn hawdd canfod fod gwahanol bersonau wedi eu gwaddoli mewn modd arbenig, â'r gwahanol ddoniau. Dywed, "A rhai yn wir a osododd Duw yn yr eglwys; yn gyntaf apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon, yna gwyrthiau; wedi hyny *doniau i iachau,*

cynorthwyau, llywodraethau," &c. Yn nes yn mlaen gofyna, "Ai apostolion pawb? ai prophwydi pawb? ai athrawon pawb? ai gwneuthurwyr gwyrthiau pawb? a oes gan *bawb ddoniau i iachau?*" (1 Cor. xii. 28–30.) Gan i Iago ddywedyd wrth y claf am fyned, nid at yr apostolion, nid at yr athrawon, &c., ond at yr *henuriaid,* nis gall dim fod yn debycach nad i'r henuriaid yr ymddiriedwyd y gallu goruwch naturiol oedd yn angenrheidiol i iachau. Sylwer drachefn,

5. *Fod pob gallu goruwch-naturiol wedi ei gymeryd ymaith o eglwys Crist, naill ai ar derfyniad yr oes apostolaidd, neu yn fuan wedi hyny.* Gwyddom fod rhai, wrth deimlo anhawsder i anghredu tystiolaethau Justyn Ferthyr, Tertullian, ac Origen, y rhai a ddywedant eu bod hwy wedi bod yn llygaid-dystion o ryfeddodau goruwch naturiol yn niwedd yr ail ganrif, a dechreu y drydedd, yn gogwyddo i gredu mai ymgilio yn raddol, ac nid ar unwaith ddarfu i'r gallu gwyrthiol; ond a chaniatau hyny, nid oes ddadl yn bod yn mysg Cristionogion uniongred, nad ydyw, er ys canrifoedd lawer, wedi ymgilio yn llwyr ac am byth. Y mae Eusebius, yn y bedwaredd ganrif, yn ysgrifenu am ddoniau gwyrthiol fel pethau yn perthyn i'r gorphenol; a'r rhai mwyaf hwyrfrydig yn nodi esgyniad yr Ymerawdwr Cystenyn i'r orsedd, fel dyddiad olaf ymddangosiad dim tebyg iddynt. Er nas gwyddom i sicrwydd pa bryd y darfyddasant, yr ydym yn sicr o un peth (a gosod y mater ar y tir iselaf), eu bod wedi llwyr gilio ymaith er ys canrifoedd lawer. Amcan gwyrthiau ydoedd cadarnhau y datguddiad newydd o wirionedd, a buasai eu mynychiad anorphen, yn lle

grymusoli, yn dinystrio eu gallu tystiolaethol. Ac heblaw hyny, y mae bodolaeth gwyrthiau yn barhaol, yn groes i anianawd Cristionogaeth. Megys ag y dywed Trautman, yr hwn a ddyfynir gan Dr. Schaff, yn ei "Hanes yr Eglwys Apostolaidd," "Fel yn achos priodas, nas gall y gwleddoedd priodasol yn wastad barhau, yn fwy nag ysbrydoliaeth y cariad cyntaf wedi i ddifrifwch a gwaith rheolaidd y bererindodaeth ddyfod i fewn; fel ag y mae yn rhaid i flodeuaeth, yn ol trefn gyffredinol natur, syrthio ymaith os ydyw y ffrwyth i dyfu, felly nis gall, ac ni wna, y gorlifiad o alluoedd nefol barhau yn yr eglwys. Nis gall, oblegid nid ydyw y natur ddynol yn alluog i ddal gwynfyd llesmeiriol y fath aberoedd o allu oddiuchod, megys y dangosir gan ymddygiad y tri dysgybl ar fynydd y gwedd-newidiad. Ni wna, oblegid y byddai parhad y flodeuaeth yn rhwystro dadblygiad y ffrwyth. Buasai ardderchawgrwydd y galluoedd uchaf hyn yn anocheladwy yn sefydlu y llygaid a'r galon i ormod graddau ar allanolion, ac felly dyben a gwaith ffydd, sef gorchfygiad mewnol y byd, yn cael ei esgeuluso." A phaham y dadleua dynion fod y gallu goruwch naturiol a all iachau claf yn aros yn yr eglwys, yn fwy na rhyw allu goruwch naturiol arall? Os ydyw hwn yn aros, paham y dygwyd ei gymdeithion ymaith? Os ydyw ymadrodd doethineb, gwahaniaeth ysbrydoedd, amryw dafodau, cyfieithiad tafodau, &c., wedi eu diddymu, paham y gadawyd y dawn i iachau? Ai tybed nad yw llygaid y dadleuwyr hyn yn fwy ar ofidiau presenol ac ofn marwolaeth agosäol y claf, nag ar gysondeb a gwirionedd? Teimlodd Edward Irving y rheidrwydd,

er mwyn cysondeb, os honi presenoldeb un gallu gwyrthiol yn yr eglwys, fod yn rhaid honi presenoldeb yr oll o honynt; fel, pan sefydlodd eglwys yn Llundain yn y flwyddyn 1834, neillduodd ef apostolion, prophwydi, efengylwyr, athrawon, henuriaid, &c., y rhai, yn ol y rhag-gynllun apostolaidd, ac yn ol eu gwahanol swyddau, oeddynt yn prophwydo, yn cyflawni gwyrthiau, yn iachau, &c.; ond erbyn hyn, y maent oll wedi tewi mewn dystawrwydd. Y mae "iachawyr drwy ffydd" yr oes hon, naill ai yn honi gormod, neu ynte yn honi rhy fach, ac oblegid hyny, yr ydym yn sylwi

6. *Fod yn rhaid gwrthod eu honiadau fel rhai anghredadwy.* Y mae y byd Cristionogol oll yn annghredu gwirioneddolrwydd gwyrthiau y Canol-oesau. Os ydyw y rhai hyny yn cael eu cyhoeddi yn ffugiau ofergoelus, paham y derbynir y rhai hyn fel gwirionedd? Y mae y naill fel y llall yn gymysgedig ag ofergoeliaeth ddofn, a phenboethni crefyddol anysgrythyrol. Megys y rhai hyny, y maent yn cael eu cyflawni gan ddynion amddifad o urddas a symlrwydd; gan ddynion, mewn gwirionedd, ag y mae eu dychymygion wedi eu fflamychu gan frwdfrydedd, fel nas gallant iawn farnu eu gweithredoedd eu hunain. Gallant fwriadu yn dda, ond nid ydynt i ymddibynu arnynt. Y mae yn ddichonadwy cyfrif am lawer o'r gweledigaethau iachaol a hysbysir y dyddiau hyn yn hollol ar wahan i allu goruwchnaturiol. Mewn erthygl yn y "*Century Magazine*," am Mehefin, 1886, y mae y Parch. J. M. Buckley yn ymroddi yn llwyddianus i'r gwaith o wneyd hyny. Dywed ef fod llawer o bobl yn

dychwelyd o gyflwr o anhwyldeb corphorol heb gymeryd cyffeiriau meddygol; ac fod y dychweliad hwnw, yn gyfeiliornus, yn cael ei briodoli i ffydd y rhai cysylltiedig. Gellir cyfrif am achosion eraill o "iachad drwy ffydd," drwy weithrediad deddfau corph a meddwl. Y mae i ddyn ganoli ei holl sylw ar un rhan o'i gorph mewn dysgwyliad hollol am adferiad y rhan hono, yn gyffredin yn effeithio cyfnewidiad yn y rhan hono, a hyny yn gwbl ar wahan i ffydd a gweddi, gan gymaint dylanwad meddwl ar y corph. Yn hanes Martin Luther, ceir amgylchiad a brawf i rai fawredd ei ddylanwad ar Dduw, fel gweddiwr, ond a brawf i eraill, fawredd ei ddylanwad ar ddynion, fel dyn Duw. Pan oedd Myconius, ei gyfaill, yn glaf, ysgrifenodd lythyr ato. Syrthiodd Luther ar ei liniau, gweddiodd gan ddweyd, "O Arglwydd fy Nuw, nid elli eto ddwyn ein brawd Myconius atat ti dy hun. Ni fydd i'th achos lwyddo hebddo. Amen." Ar ol gweddio felly, ysgrifenodd lythyr at ei frawd claf. "Nid oes achos ofni," meddai, "anwyl Myconius; ni chaniata yr Arglwydd i mi glywed dy fod wedi marw. Nid elli, ac ni chei farw." Ar dderbyniad y llythyr cyffrowyd ei gyfaill claf i'r fath raddau, fel yr ymddrylliodd y gasglfa oedd ar ei ysgyfaint, y rhedodd ei gynwysiad, ac y gwellhaodd. Pa un ai llythyr, neu weddi Luther furstiodd frothell Myconius? Yr ydym ni yn credu mai y llythyr, oblegid pan dderbyniwyd hwnw y dechreuodd y gwellhad.

Ac y mae yn briodol sylwi nad ydyw yr "iachawyr drwy ffydd" byth yn cyhoeddi eu methiantau, ond yn unig yn cyhoeddi y rhai a ddygant fwyaf o ddelw

gwirioneddolrwydd. Yn y grach-feddygaeth hon, fel y grach-feddygaeth arall, cuddir y methiant, a hyny o herwydd yr ymwybyddiaeth na chred y byd y gall Duw fethu mewn unrhyw beth a addawodd.

Na, yr ydym yn credu fod yr ymhoniad o allu i "iachau drwy ffydd" yn gosod crefydd Crist mewn safle anfanteisiol o flaen y byd, ac yn tueddu yn fawr i'w darostwng. Gellir gyda phob diogelwch hawlio nodi y gallu uwchaf yn nhiriogaeth yr Ysbryd. Yn y cyfeiriad hwnw, daw i fyny am byth a'r dysgwyliadau uchelaf; a dyledswydd a braint eglwys Dduw ydyw, ei gosod i weithredu, nid ar y gweledig, ond ar yr anweledig.

---

## YR YSBRYDION YN NGHARCHAR.

"Oblegid Crist hefyd unwaith a ddyoddefodd dros bechodau, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn (fel y dygai ni at Dduw) wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhau yn yr Ysbryd; trwy yr hwn yr aeth efe hefyd ac a bregethodd i'r ysbrydion yn ngharchar; y rhai a fu gynt anufudd, pan unwaith yr oedd hir-amynedd Duw yn aros yn nyddiau Noë, tra y darperid yr arch, yn yr hon ychydig, sef wyth enaid, a achubwyd trwy ddwfr."—I Petr iii. 18–20.

Y mae yn hawdd i unrhyw gyfarchwiliwr o arwynebedd y benod hon ddeall, mai math o ymdafliad yn rhediad gwythien yr ymresymiad ydynt y geiriau uchod. Y mae yn wir fod y geiriau yn dal perthynas a'r hyn sydd yn blaenori, ac hefyd, a'r hyn sydd yn

dylyn; ond nid ydynt yn gorwedd yn yr un cwrs, nac ychwaith yn hollol o'r un ansawdd. Amcan amgylchoedd y geiriau ydyw calonogi y Cristionogion i ddyoddef, yn hytrach na chyfranogi o ddrygioni eu cydoeswyr; ac er dirgymell hyny, dygir yn mlaen esiampl Iesu Grist, y Dyoddefwr mawr, yr hwn, er ei ladd, a fywiocawyd yn yr Ysbryd, a'r hwn, er ei osod yn y bedd, a dra-ddyrchafwyd ar ddeheulaw Duw (adn. 22ain). Yr ymresymiad ydyw, os y gwobrwywyd y Blaenor a'r fath ogoniant am ddyoddef, yn ol ewyllys Duw, fod hyny yn cyfansoddi sicrwydd y caiff pawb, a ddyoddefant wrth wneuthur daioni, gydnabyddiaeth gyfatebol yn y llywodraeth fawr. Dyna y brif linell, ac y mae y cwbl a ddywedir rhwng y gair *ysbryd* yn niwedd y 18fed adnod, hyd y frawddeg, "trwy adgyfodiad Iesu Grist," yn niwedd yr 21ain, yn wyriad (*digression*) oddiwrthi. Ac nid ydyw hyn yn beth annghyffredin yn yr epistolau. Yn fynych y mae yr ysgrifenydd yn cael ei gludo ymaith, yn ngrym deddf cymdeithasiad meddyliol, naill ai gan air, neu ynte gan feddylddrych, ond yn dychwelyd yn ol drachefn, gan ail ymafael yn y pwnc a drafodai yn flaenorol. Yn yr enngraifft dan sylw, yn gwbl ddirybudd, y mae crybwyll enw *ysbryd* Iesu Grist yn gogleisio ysbryd Pedr, ac megys wedi ei swyno ganddo, gan fethu gollwng ei afael o hono, ä i grwydro yn ei gymdeithas, a gwel ef, yn ei amynedd anfeidrol, yn cyfodi i fyny ei bwlpud ar wastadedd y byd cyn y diluw, gan ymbil a phechaduriaid i dderbyn y diogelwch dwyfol.

YMHOLIADAU.

Pwy ydynt yr ysbrydion yn ngharchar? Pa fath le

ydyw y carchar maent ynddo? Yn mha gyfnod y darfu i Ysbryd yr Iesu bregethu iddynt? Drwy ba Ysbryd yr ydoedd yn pregethu? A fu Efe yn y carchar yn bersonol? Pa beth ydoedd natur y genadwri a draddododd i'r ysbrydion?

Yn nghanol llawer o bethau dyryslyd sydd yn y geiriau, y mae ynddynt dri pheth a ymddengys yn weddol eglur. Y pethau hyny ydynt a ganlyn:—Yn gyntaf, eu bod yn adrodd hanes poblogaeth y ddaear mewn cyfnod ac amgylchiadau neillduol yn ei hanes. Yn ail, fod poblogaeth y ddaear, yn y cyfnod arbenig hwnw, wedi bod yn ddeiliaid gweinidogaeth Ysbryd yr Arglwydd Iesu. Yn drydydd, fod gweinidogaeth Ysbryd Crist, yn ei pherthynas uniongyrchol a'r genedlaeth hono, wedi ei haneffeithioli gan eu hanufudd-dod.

I. Y MAE Y GEIRIAU YN ADRODD HANES DYNION OEDDYNT YN BYW MEWN CYFNOD NEILLDUOL. Megys yn rhagweled gogwydd oesau dylynol at gyfeiliornad, y mae Pedr yn ymroddi i neillduoli neillduolion y cyn-ddiluwiaid. Sylwer fel y manyla, er gwneyd digon o wahaniaeth rhyngddynt a phawb eraill yn mhob oes, ac yn mhob gwlad:—

1. "Y rhai a fu gynt anufudd."

2. "Pan unwaith yr oedd hir-amynedd Duw yn aros."

3. "Yn nyddiau Noë."

4. "Tra y darperid yr arch."

Enillodd y cyn-ddiluwiaid enwogrwydd am anufudd-dod. Oblegid hyny dywedir, "y rhai a fu gynt *anufudd.*" Ond gan fod anufuddion wedi bod yn mhob

oes, ychwanegir fod yr anufuddion y meddylia Pedr am danynt yn dwyn y cymeriad hwnw ar adeg neillduol, sef yn amser ymgais fawr enwog eithriadol amynedd Duw, "pan *unwaith* yr oedd amynedd Duw yn aros." Ond gan fod amynedd Duw mor anfeidrol ymarhous bob amser, ychwanegir drachefn mai nid yn nyddiau Abraham, nac yn nyddiau Moses, yr ymarferwyd yr hir-ymaros rhyfedd hwn, ond "yn nyddiau *Noe*." A rhag ofn y posiblrwydd o gamgymeriad, cyfyngir drachefn ar y cyfyngiadau blaenorol; dewisir dyddiau allan o ddyddiau, a nodir y blynyddoedd ar ba rai y cymerodd amgylchiad unigol ac enwog le, a dyna oeddynt, "*tra y darperid yr arch*," y chwech ugain mlynedd rhyfedd hyny yn hanes y cenedloedd. Gallai y dyn disylw feddwl fod y fath fanylwch yn afreidiol, ond nid felly y mae, oblegid y manylwch hwn ydyw cychwynfan deongliad y geiriau. Gwybodaeth sicr, oleu, ddigamsynied, pwy ydoedd y bobl y pregethodd Ysbryd Crist iddynt, ydyw yr allwedd sydd yn datgloi dirgelion yr adnodau. Oddigerth ein bod yn hollol sicr ar y cwestiwn hwn, nid oes un sicrwydd y deallwn un ran o'r ymadroddion. Er mwyn argraffu y pwysigrwydd o gysylltu pob peth a ddywedir yma a'r cyn-ddiluwiaid, nyni a nodwn rai o'r cyfeiliornadau y mae anghofio neu anymwybyddu hyny wedi ei achlysuro.

(*a.*) *Y mae rhai yn dadleu fod y geiriau yn cyfeirio at bregethu yr apostolion i'r byd anghrediniol.* Mynir, fel y sylwa Dr. Gloag yn ei "*Exegetical Studies*," ystyried yr "ysbrydion yn ngharchar" fel ymadrodd cyffelybiaethol, yn cael ei ddefnyddio i ddynodi Iu-

ddewon a Chenedloedd, dichon y ddau, y rhai oeddynt mewn cyflwr o gaethiwed ysbrydol; ac wrth "bregethu Ysbryd Crist iddynt" y golygir pregethu Ysbryd Crist drwy yr apostolion. Hawlir yn mhellach fod yr efengyl yn fynych yn cael ei chynrychioli fel cyhoeddiad o ryddhad i gaethion (Esaiah xlii. 6–7; xli. 1), ac er rhoddi rhyw fath o debygolrwydd gwirionedd i'r esboniad, dywedir fod y rhai oedd yn anufudd yn nyddiau Noah yn cael eu crybwyll yn unig fel esiamplau o anufuddion pob oes; a phregethu Noah yn rhag-gynllun o bregethu y deuddeg apostol. Gwyddom nad ydyw y fath ddeongliad yn deilwng o ystyriaeth am eiliad, ac ni fuasai ynddo ei hun yn deilwng o unrhyw sylw, oni buasai fod ei grybwyll yn profi mor agored ydym i gyfeiliorni, os am eiliad y caniateir fod yma gyfeiriad at neb ond gwrandawyr Noah.

Wrth anghofio neu anymwybyddu y ffaith mai gwrandawyr Noah yn unig sydd yn cael son am danynt, rhoddwyd genedigaeth i gyfeiliornad arall, sef,

(*b.*) *Darfod i Grist, ar ol marw, ddisgyn i Hades, myned at saint yr Hen Destament, cyhoeddi iddynt ei fuddugoliaeth ar bechod ac angau, gan eu sicrhau o adgyfodiad ac iachawdwriaeth berffaith.* Nid ydym yn synu cymaint fod eglwys Rhufain wedi syrthio i'r amryfusedd hwn, ond y mae ef yn dipyn o syndod fod *cynifer* o'r tadau, megys Irenæus, Justyn Ferthyr a Tertullian, ac yn enwedig fod cynifer o'r Diwygwyr, megys Calvin, Zwingle, &c., ac yn wir, rhai Protestaniaid diweddarach, yn credu ac amddiffyn y fath gyfeiliornad. Yn ol y dyb hon, yr oedd yr holl gyfiawnion, o Abel gyfiawn hyd at y sant olaf a aeth i ogon-

iant cyn marw Crist, yn gynulleidfa fawr, mewn ystafell eang (*Lumbus Putrum* Holwyddoreg Cyngor Trent), yno yn gorphwys mewn diogelwch, eto heb fod yn gwbl ddedwydd; er hyny, mewn gobaith am fwynhad ychwanegol, drwy glywed am fuddugoliaeth y Messiah. Canfyddir y meddylrych hwn yn "*Uffern*" Dante (Cantawd iv.), pan ddywed:

> "I was new to that estate,
> When I beheld a puissant one arrive
> Amongst us, with victorious trophy crowned.
> He, first, the shape of our first parent drew;
> Abel, his child, and Noah, righteous man;
> Of Moses, law-giver; for faith approved,
> Of patriarchal Abraham; and David, king;
> Israel with his sire, and his sons,
> Not without Rachel, whom so hard he won;
> And others, many more, whom He to bliss
> Exalted."

Yma y drychfeddwl ydyw y purdan. Haerir fod y rhai drwg iawn yn uffern, y rhai da iawn yn y nefoedd; ond y rhai canolig yn y purdan, er fod Gair Duw yn hysbysu nad oes ond un man i buro ynddo, sef y ddaear. Y mae pob ymddangosiad o wirionedd yn cael ei dynu ymaith o'r dyb hon gan hysbysiad pendant y testyn, sef mai nid pobl dda, mai nid pobl ufudd, mai nid pobl grediniol, fel saint yr Hen Destament yr aeth Crist i bregethu iddynt; ond pobl ddrwg, pobl anufudd, pobl anghrediniol, y cyfryw nad oedd ond carchar yr ymerodraeth yn gweddu iddynt. Megys y dywed y diweddar Dr. Jones, Llangollen, mewn pregeth a gyhoeddodd ar y geiriau hyn: "Nid ysbrydion yn ngharchar oedd eneidiau Abraham, Isaac, Jacob,

Moses, a'r prophwydi, cyn ymddangosiad a marwolaeth Crist."

Y mae gwrthod cydnabod y ffaith mai cyd-oeswyr Noah ydyw y dosbarth y sonia Pedr am danynt wedi arwain i gyfeiliornad arall, sef,

(*c.*) *Fod Iesu Grist, yn y cyfwng rhwng ei farwolaeth a'i adgyfodiad, wedi disgyn i uffern, ac wedi cyhoeddi yr iachawdwriaeth a orphenasai yn nghlyw y miliwnau damniedig.* Y mae awdurdodau uchel, hen a diweddar, yn hawlio nad ydyw yn ddichonadwy esbonio yr adnodau ond yn ngoleuni y fath osodaeth. Y mae yr awdurdodau hyn yn gwahaniaethu gyda golwg ar y nifer a gafodd gynyg ar drugaredd faddeuol. Tra y mae rhai, fel Alford, Cook, &c., yn credu mai y cyn-ddiluwiaid anufudd yn unig o holl drigolion Gehenna gawsant glywed geiriau efengyl yn y golledigaeth; y mae eraill, megys Farrar, Plumptre, &c., yn tybio fod anufuddiaid dyddiau Noah yn cael eu crybwyll yn unig fel esiamplau o'r un drugaredd ag a estynwyd i'r holl golledigion, ond fod y ffaith hono, i ryw ddybenion, wedi ei chuddio oddiwrthym. Mewn gair arall, fod buddugoliaeth Crist ar y groes wedi ei ddylyn gan fath o Jubili fawr yn uffern, ac i'r Iesu agor drysau y carchar i bawb oedd yn dewis myned allan o hono. "Os oes i iaith unrhyw feddwl," meddai Farrar yn ei "*Early Days of Christianity*," "y mae yr iaith hon yn meddwl fod Crist, pan y disgynodd ei Ysbryd i'r byd isod, wedi cyhoeddi cenadwri iachawdwriaeth i'r meirw a fuont unwaith yn anedifeiriol." Gwel coleddwyr y dyb hon gadarnhad pellach iddi mewn dau fan arall yn y Testament Newydd. Nodir

yr adnodau canlynol: "Ac efe yn rhag-weled, a lefarodd am adgyfodiad Crist, na adawyd ei enaid ef yn uffern, ac nas gwelodd ei gnawd ef lygredigaeth" (Actau ii. 31). Drachefn: "Canys er mwyn hyny yr efengylwyd i'r meirw hefyd; fel y bernid hwy yn ol dynion yn y cnawd, ac y byddent fyw yn ol Duw yn yr ysbryd" (1 Pedr iv. 6). Ni fydd i ni aros yn awr i geisio egluro y geiriau yna. Rhifa y farn hon y gwyr urddasolaf yn mysg ei chefnogwyr, a rhaid cydnabod hefyd fod ynddi gyd gordiad ymddangosiadol a geiryddiad y testyn. Y mae un ystyriaeth, er hyny, sydd yn gwbl ddymchwelol iddi; sef ei bod yn gwbl annghyson a ffydd yr efengyl. Nid oes y crybwylliad lleiaf yn unman arall am ddisgyniad Crist i uffern, ond dywedir yn bendant ei fod, ar ol marw, wedi myned, nid i uffern, ond i Baradwys. "Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys" (Luc xxiii. 43). Heblaw hyny, a ydoedd y pechaduriaid cyn-ddiluwaidd, neu ynte y pechaduriaid a fuont feirw cyn marwolaeth Crist, yn fwy teilwng o gynnyg o drugaredd na phechaduriaid oesau a chenedlaethau eraill? Os y rhoddwyd cynnyg ymwared i rywrai, rywbryd, yn y trueni, paham y dywed y Beibl fod cyflwr pawb yn dragywyddol annghyfnewidiol, unwaith yr ant yno? Y mae dameg Divas a Lazurus yn dysgu fod pawb yn y byd a ddaw yn ei le ei hunan, a hyny yn oes-oesodd. Os y gwnawd cynyg o drugaredd i'r cyn-ddiluwiaid yn y trueni, paham nad ellir credu y caiff y miliwnau sydd yno hefyd a wrthodasant Grist, yr un ragorfraint anfeidrol? Y mae credu yr esboniad hwn yn ein harwain i gredu mewn Adferiad, ie, yn arwain at gredo y Cyff-

redinolwyr, y rhai a gyhoeddant y bydd pawb yn gadwedig, a hyny ar wahan i'w cymeriadau moesol. Os credu y naill neu y llall, y mae yn rhaid anghredu y Beibl. Na, yn y byd hwn yn unig y cafodd gwrandawyr Noah gyfleusterau achubol, ac yn y byd hwn yn unig y mae trugaredd ddwyfol yn ymgeleddu eto.

Dywedir yn eglur drachefn yn y testyn yn

II. Fod y cyn-ddiluwiaid wedi bod yn ddeiliaid gweinidogaeth Ysbryd yr Arglwydd Iesu. Y mae yma ddau beth yn cael ei ddweyd am y weinidogaeth hono. Yn

(*a.*) *Ei ffurf hi.* "Trwy yr hwn yr aeth Efe ac y *pregethodd.*" Y mae y gair a gyfieithir yma *pregethu* yn golygu y swyddogaeth o gyhoeddi, un yn cyhoeddi cenadwri dros arall. Nid ydyw y gair, o angenrheidrwydd, yn golygu cyhoeddi *newyddion da*, er mae yn eglur oddiwrth ei gysylltiad yma, mae cenadwri at y trallodedig ydyw, yn cynyg iddo noddfa a diogelwch. Y mae ystyr y gair hwn yn gwneyd ymaith a chredo yr Eglwys Lutheraidd ar y pwnc hwn. Dywed Cyffes Ffydd yr eglwys hono: "Yr ydym ni, gan hyny, yn syml yn credu fod Crist yn ei holl berson, Duw a dyn, ar ol ei gladdedigaeth, wedi disgyn i uffern, gorchfygu Satan, dymchwelyd gallu uffern, a chymeryd oddiwrth ddiafol bob nerth a gallu." Yr ydym ninau yn credu, gyda gorfoledd enaid, fod Crist wedi buddugoliaethu ar ddiafol, ei fod wedi dinystrio sylfaeni ei deyrnas, ac na fydd i'w ben briw wella yn oes oesoedd; ond fe wnaethpwyd hyny, nid ar belmynt y fallgyrch, ond ar Galfaria. Drwy, ac yn y groes yr yspeiliwyd y tywysogaethau, ac y taflwyd hwy oddiar thronau y greadig-

aeth faterol. Golyga y gair pregethu, nid dymchweliad gallu, ond cyflwyniad cenadwri.

(*b.*) *Cyfrwng y weinidogaeth.* "Trwy yr hwn (*yr Ysbryd*) yr aeth Efe, ac y pregethodd," &c. Ni fu yn pregethu yn bersonol, eithr pregethodd drwy ei Ysbryd, yr Ysbryd a fywhawyd drwy yr adgyfodiad oddiwrth y meirw. Pregethodd, nid tra yn y cnawd, ond cyn gwisgo cnawd; felly os pregethu o gwbl, yr oedd yn rhaid iddo bregethu yn yr Ysbryd; ac os pregethu yn yr Ysbryd, rhaid mai pregethu yr ydoedd drwy Noah, "pregethwr cyfiawnder." Y mae yr ysgolhaig enwog, Dr. Robinson, Efrog Newydd, yn cyfieithu yr adran fel hyn: "Yn yr hon (natur ysbrydol) y pregethodd efe unwaith (trwy Noah) i'r ysbrydion hyny sydd yn awr yn ngharchar." (*Robinson's Lexicon*, o dan y gair *pneuma.*) Yr un ysbryd dwyfol ag oedd yn y prophwydi "pan oedd efe yn rhag-hysbysu dyoddefiadau Crist, a'r gogoniant ar ol hyny," oedd hefyd yn Noah, yn galw sylw ei gydoeswyr at y farn oedd ar ddyfod, a'r ymwared oedd wedi ei drefnu gan Dduw. Yn moreu oes y byd *aeth* Crist drwy Noah at y cyn-ddiluwiaid; ond yn y dyddiau diweddaf hyn, "Efe a *ddaeth* ac a bregethodd dangnefedd i chwi y rhai pell, ac i'r rhai agos" (Ephes. ii. 17).

Ond y mae yn eglur fod, yn

III. GWEINIDOGAETH YSBRYD CRIST I'R CYN-DDILUWIAID WEDI PROFI YN ANEFFEITHIOL. Y mae dwy frawddeg sydd yn cynwys hanes eu sefyllfa yn y prawf ac yn y gosb yn dangos hyny.

(*a.*) *Ar y ddaear yr oeddynt yn anufudd.* "Y rhai

a fu gynt yn anufudd." Buont yn anufudd, er fod un o gymeriadau goreu yr oesau yn pregethu iddynt. Buont yn anufudd, er fod Ysbryd Crist yn y cymeriad mawr hwnw. Buont yn anufudd, er y rhybuddion egluraf a lluosocaf. Buont yn anufudd, er yr arddangosiad llawnaf o amynedd dwyfol. A buont yn anufudd, er cael eu hysbysu fod unig gyfleustra ymwared yn cael ei ddarparu ar eu cyfer! Och! fy enaid, gynnifer o filiwnau *sydd yn awr*, megys a *fu gynt*, yn ymryson ag Ysbryd yr Arglwydd, ac yn mynu damnio eu hunain!

(*b.*) *Yn uffern y maent mewn carchar.* Dywed y beirniad, Dr. Jones, yn y bregeth y cyfeiriasom ati eisioes, fod "y rhag-ferf amserol, '*yn awr*' yn ddealladwy yn yr adnod, ac hefyd, fod hyny yn gwneyd y darlleniad yn ddealladwy." "Trwy yr hwn yr aeth efe hefyd, ac a bregethodd i'r ysbrydion (*yn awr*) yn ngharchar: (hyny ydyw,) y rhai a fu gynt anufudd, pan unwaith," &c. Uffern ydyw carchar mawr yr ymerodraeth. Y mae gwrandawyr Noah wedi bod yno erbyn hyn am tua phedair mil a haner o flynyddau, ond heb fod yn agosach i gael gollyngiad na'r foment gyntaf. Y mae yna, ys dywed Burkit, ddrws i ollwng i fewn i uffern, ond nid oes yno ddrws i ollwng allan.

# Y GYFFELYBIAETH GYFATEBOL.

"Cyffelybiaeth cyfatebol i'r hwn sydd yr awrhon yn ein hachub ninau, sef bedydd (nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw) trwy adgyfodiad Iesu Grist."—1 Petr iii. 21.

Edrychir ar yr adnod hon, mewn undeb a'r adnod sydd yn ei blaenori, fel ystorgell athrawiaethau gwahanol. Gwel un dosbarth ynddynt gadarnhad i'r athrawiaeth ganlynol: megys y pregethodd Crist i'r cyn-ddiluwiaid yn ngharchar uffern, felly caiff y rhai a ymadawant a'r byd hwn, heb fod yn gwbl dda, gynyg eto ar drugaredd yn y byd a ddaw. Dyna y purdan, dyna y sefyllfa ganol, dyna y gymodfa y dywed yr offeiriad Pabaidd, ond i ddynion roddi *arian* iddo ef, a *chlod* i Dduw, y gall ollwng eu perthynasau allan o honi, gan eu trwyddedu i'r Baradwys well. Gwel dosbarth arall yn y geiriau gefnogaeth i'r athrawiaeth hon: megys yr achubwyd Noah a'i deulu drwy yr arch, felly achubir dynion eto drwy fedydd. Dyna adenedigaeth fedyddiadol, dyna rinwedd sacramentol, dyna honiadaeth offeiriadol. Dywed yr offeiriad defodol y gall ef, fel olynydd yr apostolion, ond nad all neb ond ei hunan, wrth weinyddu yr hyn a eilw yn fedydd, wneuthur unrhyw un "yn aelod o Grist, ac yn etifedd teyrnas nefoedd." Gwel y trydydd dosbarth yn y geiriau ategiad i athrawiaeth arall, sef, megys ag y cadwyd plant Noah ar gyfrif ffydd eu tad, felly cedwir plant credinwyr yn rhinwedd cyfamod Abraham. Dyna had y ffyddloniaid, dyna y genedl ethol-

edig, dyna blant y cyfamod, y rhai a allant fforddio edrych i lawr oddiar uchelderau eu rhagorfreintiau, gyda dirmyg, ar bechaduriaid cyffredin. Gwel dosbarth arall ategiad yn y brawddegau i athrawiaeth wahanol; sef, megys ag mai ar lwybr ufudd-dod ffyddiog yn Nuw yr achubwyd Noah a'i deulu; felly, ar dir ymostyngiad i orchymynion y nefoedd y cedwir credinwyr trochedig yn awr. Y mae y Bedyddwyr erioed wedi ymlochesu yn amddiffynfeydd y testyn, ac wedi derbyn llawer o adloniant o'r dyfroedd a redant drwyddo; ond wrth gadw meddiant o hono, y maent wedi bod o dan warchaeaeth ac erledigaeth.

### YMHOLIADAU.

I ba beth y mae bedydd yn gyffelyb, i arch Noah, neu ddyfroedd y diluw? Yn mha ystyr y mae bedydd yn achub; a ydyw yn achos haeddianol, neu ynte yn gyfrwng trosglwyddiadol achubiaeth? Pa beth ydyw effaith bwriadedig bedydd; glanhad y corph, neu daweliad y gydwybod?

Fod cyfeiriad yn y testyn at fedydd y Testament Newydd sydd anamheuadwy, ac annadleuadwy. Ac y mae yn eglur hefyd fod tair o weddau gwahanol perthynol i'r ordinhad yn cael eu crybwyll ynddo. Rhydd y geiriau fantais i sylwi ar fedydd oddiar dair safle; yr un gyffelybiaethol, yr un negyddol, a'r un gadarnhaol.

*Bedydd yn gyffelybiaethol.* "Cyffelybiaeth cyfatebol i'r hwn sydd yr awrhon yn ein hachub ninau, sef bedydd."

Y mae genym amryw gyfieithiadau o'r adnod heblaw yr un Cymreig, ond y mae yn dra amheus a oes un o

honynt yn rhagori arno. Nid ydyw y cyfieithiadau Ethiopaidd, Lladinaidd a Syriaidd, o ran sylwedd, yn gwahaniaethu ond ychydig oddiwrtho. Ac nid ydyw y cyfieithwyr Seisnig, megys Alford, &c., wedi gweled angen am gyfnewid ond ychydig ar y cyflead. Y maent yn cyfleu yr un meddylddrychau, gydag ychydig o wahaniaeth geiriol. Ymgais fawr pob un o honynt ydyw gwneyd syniad yr Apostol yn ddealladwy; sef, fod yna ffeithiau yn hanes achubiaeth Noah sydd yn meddu ar eu gwrth-barthau yn hanes y crediniwr bedyddiedig. Gwir fod Testament Alford, yn lle darllen "cyffelybiaeth cyfatebol," yn darllen "gwrth-gysgod (*antitype*) i'r hwn sydd yr awrhon yn ein hachub," &c., a gwir hefyd fod y Cyfieithiad Diwygiedig yn darllen, "Yr hwn hefyd, megys adlun cywir (*a true likeness*) sydd yr awrhon yn eich achub chwithau," &c. Gwelir fod y cyfieithiad Cymreig yn rhoddi datganiad i'r meddylddrychau hyn, oblegid dywed am fedydd mai rhywbeth cyffelyb ydyw i'r hyn y bu yn sylwi yn flaenorol arno; a rhagor, fod rhanau y gyffelybiaeth, yn y llun a'r gwrth-lun, yn cyfateb yn y modd mwyaf tarawiadol. Ystyr eiriadurol a phriodol y gair dan sylw, fel y sylwa Robinson, ydyw, gwrth-ddrych yn gwrthwynebu tarawiad, ac yn y gwrth-safiad yn derbyn argraff oddiwrth y tarawiad. Yn y Testament Newydd, golyga y peth a ffurfir yn ol rhag-gynllun, ac a gyfateba yn mhob golygiad i'r rhag-gynllun hwnw. Oblegid hyn, yn ddiau, y mae y Parch. James Rowe, Abergwaen, yn ei gyfrol pregethau, yn defnyddio yn eglurebau o'r ymadrodd, waith dynion yn gosod argraff y Frenines ar y bathodyn, yn ogystal

a gwaith Moses yn cario allan y portread o'r tabernacl a dderbyniasau oddiwrth Dduw; fod y naill, fel y llall, yn rhoddi engreifftiau o lun a gwrth-lun. Yn gymaint ag fod y pethau sydd yn arwyddocau yn achubiaeth Noah, a'r pethau a arwyddocant yn achubiaeth y bedyddiedigion, dipyn yn amblygiedig, yr ydym yn cydymdeimlo ag Alford pan y sylwa nad ydyw yn hawdd iawn canfod y llinellau cyfelydd ynddynt. Ond os ydyw hyny yn anhawdd, nid ydyw yn annichonadwy. Y mae rhai o honynt yn gorwedd ar wyneb y geiriau. Y mae yn eglur fod yr wyth enaid yn ardebol o'r Cristionogion; fod achubiaeth yr wyth enaid yn rhaggynlluniol o achubiaeth y rhai bedyddiedig; fod yr arch yn rhag-gysgodi yr Iesu adgyfodedig; fod dyfroedd y diluw yn arwyddocaol o ddyfroedd y bedydd; ac fod y waredigaeth dymorol, yn y cyfanswm o honi, yn ddarlun o'r waredigaeth ysbrydol y mae bedydd yn trosglwyddo dyn i'w gafael. Dichon mai yr unig gwestiwn o bwys yn yr ymchwiliad am y llinellau a berthyn i'r cysgod yn nyddiau Noah, ac a berthynant hefyd i'r sylwedd yn nyddiau Pedr, ydyw a ganlyn: Pa beth yn neillduol sydd yn cael ei gynrychioli yn y rhag-enw perthynasol *hwn*? "Cyffelybiaeth cyfatebol i'r *hwn*," &c. Cyffelybiaeth gyfatebol i beth; i'r arch, y dwfr, neu rywbeth arall? Nis gall y rhag-enw "*hwn*" fod yn dal cysylltiad a'r arch, oblegid y mae gwahaniaeth yn rhywiau y ddau air. Y mae yr arch yn y rhyw fenywaidd, "yn yr *hon* ychydig, sef wyth enaid"; ond y mae y rhag-enw yn y rhyw wrywaidd, a chan fod enw a rhag-enw, bob amser, yn unrhywiol, pan ddefnyddir hwy i osod allan yr un gwrthddrych-

au, nis gall y rhag-enw yn y cysylltiad hwn fod yn sefyll am yr arch. Yr ydym yn hytrach yn credu mai y rhag-flaenedydd yn yr achos hwn ydyw y gair *dwfr* yn niwedd yr 20fed adnod, ac mai yr hyn a ddysgir yn benaf felly ydyw,—megys ag y cludwyd Noah a'i deulu yn ddiogel i fyd newydd, felly y symudir y Cristionogion, drwy ddyfroedd y bedydd, o deyrnas Satan i deyrnas anwyl Fab Duw. Gwyddom fod yn y gyffelybiaeth amryw debygoliaethau eraill heblaw yr un arbenig hon. Ceir y rhai hyny wedi eu gosod allan yn gywrain gan Dr. Jones, Llangollen, yn ei "Weithred o Fedyddio." Gosodwn ger bron y darllenydd dalfyriad o honynt.

1. "Effaith ffydd oedd gwaith Noah yn adeiladu yr arch. Un o ffrwythau ffydd y Cristion yw ei ymostyngiad i fedydd.

2. Ymwrthodai Noah a phob cynllun dynol i'w achub, a derbyniai gynllun Duw. Felly y credadyn yn y bedydd; y mae yn ymwrthod a phob peth dynol.

3. Parch i Dduw oedd yn cymell Noah i ymostwng. Gwaith 'cydwybod dda' yn ymofyn a Duw yw bedydd; parch i osodiad Duw sydd yn peri iddo gymeryd ei fedyddio.

4. Dangosodd Noah ymddiried yn Nuw wrth fyned i mewn i'r arch. Felly y credadyn; dengys ei fod yn ymddiried yn marwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad Crist, fel sail ei gymeradwyaeth ger bron Duw.

5. Yr oedd Noah yn gladdedig yn nyfroedd y diluw. Felly y mae y credadyn i gael ei gladdu gyda Christ yn y bedydd.

6. Yr oedd Noah yn cael ei achub trwy ddwfr y di-

luw. Cludai y dwfr yr arch fel na ddryllid hi. Gofalodd Capten ein hiachawdwriaeth am y llong. Yr oedd ufudd-dod Noah yn ei achub rhag dinystr ac euogrwydd y rhai a ddyfethwyd. Y mae bedydd yn achub yr ufudd rhag ofnau yr anufudd, a chyhuddiadau cydwybod euog y rhai sydd yn diystyru cyngor Duw yn hyn.

7. Daeth Noah allan o'r arch yn ddiogel, fel dinesydd y byd newydd. Trosglwyddwyd ef yn yr arch gan y diluw o'r hen fyd i'r byd newydd. Felly bedydd; y terfyngylch rhwng y byd a'r eglwys ydyw. Pan y bedyddir y credadyn, y mae mewn modd gweledig yn symud o'r byd i'r eglwys. Crist yw y drws ysbrydol i'r eglwys, ond bedydd yw y drws allanol. Trwy fedydd y mae efe yn dyfod i mewn i'r eglwys, fel Noah i'r byd newydd. Nis gellir egluro cyffelybiaeth Pedr oddieithr i ni gydnabod mai bedydd y crediniol trwy drochiad yw ordinhad Crist."

*Bedydd yn nacaol.* "Nid golchi ymaith fudreddi y cnawd." Amcan y golchiadau Iuddewig ydoedd "pureiddiad y cnawd." Yr oeddynt wedi eu bwriadu i symud ymaith halogrwydd corphorol a seremonïol. Y tebygolrwydd ydyw fod yr Apostol yn gweled y rheidrwydd o wneyd y gosodiad negyddol hwn er gwneyd gwahaniaeth i'r meddwl Iuddewig rhwng gosodiadau y gyfraith a'r ordinhad Gristionogol. Ni fuasai angen y fath ragocheliad ar feddwl Cenedlig. Ni fu neb erioed yn credu mai amcan bedydd Crist ydyw glanhau y dyn oddi allan. Gwir fod gwawdwyr oesau o'r blaen, yn eu cynddaredd, yn cyhuddo y Bedyddwyr o "olchi eu gilydd yn y pwllyn fel y golchir

defaid;" ond cydnebydd pob dyn o synwyr cyffredin, nad ydyw dull gweinyddiad yr ordinhad, yn ol y dull apostolaidd, yn rhoddi unrhyw debygolrwydd o wirionedd i'r cyhuddiad. Y mae yn yr epistolau gyfeiriadau at fedydd fel *golchiad*; ond bob amser, cysylltir a hyny ymadroddion a ddangosant fod y golchiad allanol yn rhag-dybied ac yn arwyddocau effëithiau mewnol drwy yr Ysbryd Glan. Sylwer ar yr engreifftiau canlynol: "Fel y sancteiddiai efe hi, a'i glanhau a'r *olchfa* ddwfr, trwy y gair" (Ephes. v. 26). "Yn ol ei drugaredd yr achubodd efe ni, trwy *olchiad* yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glan" (Titus iii. 5). "Nesawn a chalon gywir, mewn llawn hyder ffydd, wedi glanhau ein calonau oddiwrth gydwybod ddrwg, a *golchi* ein corph a dwfr glan" (Heb. x. 22). Cydnabydda y prif ramadegwyr, a'r prif esbonwyr, fod yr adnodau hyn yn cyfeirio at fedydd; y naill oblegid fod y gair a ddefnyddir yn golygu ymdrochi mewn baddon, a'r llall oblegid nad oes un golchiad yn cael sôn am dano yn yr efengyl ond golchiad y bedydd. Ond yn mhob engraifft, priodolir i'r ordinhad effeithiau eneidiol, ac nid corphorol.

*Bedydd yn gadarnhaol.* "Eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw." Bernir gan lawer fod y frawddeg hon yn cynwys desgrifiad o *ddylanwad y weithred o ufudd-dod ar feddwl yr ufuddhawr.* Felly yr esbonia Dr. Erskine, Dr. Dwight, Dr. Brown, Bliss, Leighton, &c. Y mae ef yn wirionedd nad ydyw cydwybod byth yn ddedwydd, nac yn dda, tra y parhao ei pherchenog ar dir anufudd-dod. Gallem, o'r tu arall, gael tystiolaeth oddiwrth dyrfaoedd, unrhyw ddiwr-

nod, fod cyfnewidiad annhraethol ddymunol wedi cymeryd lle yn eu cydwybodau pan yn llaw cenad Crist, y claddwyd hwy gyda Christ yn nyfroedd y bedydd. Bernir gan lawer eraill fod cyfeiriad yn y frawddeg at *yr arferiad o gwestiyno y dychweledigion cyn eu bedyddio.* Rosenmuller a ddywed: "Wrth fedyddio, arferai y gweinidog wneyd ymholiad, i ba un yr atebai yr ymgeisydd." Trapp a ddywed: "Ymddengys fod yr Apostol yn cyfeirio yma at yr arferiad o holi yr un fyddai am fedydd, a chymeryd ei atebion." Trollope a ddywed: "Gall fod y gair *eperotema* yn cyfeirio at yr arferiad o holi yn amser bedydd." Lange a ddywed: "Fod gofyniadau yn cael eu rhoddi i fedyddiedigion yn yr eglwys apostolaidd, ac y mae Pedr yn cyfeirio atynt yma." Dyfyna ef hefyd o weithiau Eusebius, yr hwn a adrodda am Dionysius, Esgob Alexandria, pan yn llygaid-dyst o fedyddiad yn y drydedd ganrif, a'r modd y clywodd yr Esgob y cyfryw ofyniadau yn cael eu rhoddi a'u hateb. Nid ydyw o un dyben ychwanegu dyfyniadau; digon fydd dweyd fod Neander, Bloomfield, Barnes, &c., yn cwbl gydolygu a'r uchod. Holwyd yr eunuch gan Philip, holwyd ceidwad y carchar gan Paul: a dylai eglwys Dduw eto holi pob ymgeisydd, er deall ei ddirnadaeth yn yr efengyl, ac yn enwedig, ansawdd ei fwriadau gyda golwg ar Iesu Grist. (Gwel Act. viii. 37; Heb. vi. 1–2; Rhuf. x. 10.)

Yn wahanol i'r rhai blaenorol, y mae lluaws eraill yn barnu mai dyma sydd yn y frawddeg: *Fod cydwybod, yn y bedydd, yn ymofyn a Duw am gyflawniad ei ewyllys.* Hwn ydyw y golygiad a fabwysiadir gan Dr. Jones,

Dr. Owen, &c., a hwn hefyd ydyw y syniad a weithir allan gan brif gyfieithwyr y Testament. Y darlleniad yn y Cyfieithiad Diwygiedig ydyw: "But the interrogation (ymyl y ddalen, 'inquiry') of a good conscience." Iaith agweddiad y bedyddiedig ydyw: "Arglwydd, beth a fyni di i mi i'w wneuthur?" Cyn y bedyddiad, y mae cydwybod yn dyst Duw yn condemnio, yn oracl Duw yn rhagfynegi dinystr, ac yn ymerodres y nefoedd yn bygwth cosbedigaeth; ac wedi i'r dyn gael ei ddwyn ganddi i fraw ac wylofain, y mae yn awyddus am gyfarfod a'i Arglwydd yn nyfroedd y bedydd, fel ymofynydd pryderus am lwybrau ei ddeddfau. Y mae cyfleustra yn y fedyddfan i gydwybod ymddyddan a Duw.

Yn ol ein deongliad ni o'r adnod, y mae yn eglur mai moddion, ac nid effeithydd achubiaeth ydyw bedydd. Yn wir, ystyr y gair *achub* yma, yn ol Parkhurst, Liddell & Scott, &c., ydyw, "arwain drwodd yn ddiogel." Nid ydyw i'w ofni na'i arswydo, y mae yn arweinydd diogel o diriogaethau y damnio i derfynau euraidd Immanuel, ac y mae miliwnau erbyn hyn o dan ei dywysiad, wedi dianc o dalaethau caethiwed i derfynau rhyddion llywodraeth Crist Iesu. Y mae tri pheth i'w ddweyd am fedydd fel moddion trefnedig y nefoedd.

1. *Y gallasai Duw waredu eneidiau hebddo.* Yn achos Noah, nid rhywbeth i gynorthwyo y gallu anfeidrol ydoedd yr arch. Gallasai y gwr ofalodd am Noah ar y tonau, ei gadw yn fyw, pe angen, odditanynt. Yr un peth fuasai i Dduw roddi gwisg yr ymsuddwr am bregethwr cyfiawnder, ag ydoedd rhoddi

gwisg y morwr am dano. Os oedd yr Arglwydd wedi penderfynu gosod gwadnau Noah ar fyd wedi ei lanhau o'i fudreddi, gallasai ef wneyd hyny heb gyfryngau. Gall ef beri i graig Horeb ddistyllio allan y dyfroedd grisialaidd heb Moses na'i wialen. Gall alltudio y gwahanglwyf o gnawd Naaman heb ddyfroedd yr Iorddonen. Gall dynu y maen olaf o gaerau pob Jericho i lawr heb gyrn hyrddod y ddaear. Dewisiad doethineb, ac nid gorfodaeth gwendid, ydyw pob cyfrwng ordeiniedig. Ond y mae yn annhraethadwy bwysig cofio nad oes glanio i fod ar Ararat dragywyddol yr ochr draw, os nad eir i fewn i arch Duw yr ochr yma.

2. *Fod moddion penodedig y nefoedd yn sicr o ateb dyben eu hordeiniad.* Fe gadwyd Noah yn fyw yn yr arch, ond boddodd yr holl fyd y tu allan iddi. Y mae yn well bod yn gadwedig gydag wyth, na boddi gyda miliwnau. Ac yn wir, y mae prydferthwch, heblaw diogelwch, yn ngwaredigaeth ddyfrol Noah. Y mae yn bleserus edrych ar ei long yn myned o flaen yr awelon, gan wasgaru y tonau fel eira toddedig. Rhycha y dyfnder du, a merchyg y bryniau dyfrol mewn buddugoliaeth. Gellir ei gweled yn fynych yn ymgrymu o dan gofleidiadau a chusanau awelon y nefoedd. Dyddenir hi gan haul y dydd, a deil y ser eu ffaglau cyneuol uwch ei llwybrau llaith yn y nos. A yn mlaen wrth gwmpawd hollwybodaeth, fel llong ymfudol yn cario pregethwr a'i deulu o'r hen fyd i'r byd newydd; a chan mai yr Arglwydd ydyw y cadben, nid oes perygl am longddrylliad. Ac y mae yn hyfryd y tu fewn! Y teulu yn iach, cydwybod yn dawel, a

Duw yn gwenu. Creda un fod y teulu dedwydd wedi cordeddu mawl i Arglwydd yr elfenau drwy ryw eiriau cyffelyb i'r rhai hyn:

"Er boddi'r byd yn grwn,
Diogel ydym ni;
Dyrchafwn fawl i'r hwn
A'n ceidw ar y lli';
Ac wedi glanio draw yn mhell,
Ni godwn hwyl i wlad sydd well."

Golygfa ardderchog yn y dydd diweddaf fydd gweled y miliwnau cadwedig yn arch trugaredd, yn nofio ar donau ymchwyddol y diluw tân. Nid rhyfedd i un dori allan mewn gorfoledd i ddweyd, "Pe byddai genyf filiwn o eneidiau i'w cadw, Iesu Grist gawsai y gwaith i gyd."

3. *Mai doethineb uchaf dyn ydyw syrthio i mewn i drefn Duw.* Os ydyw yr Arglwydd yn dweyd fod diluw i ddod, ceisier sylweddoli mewn pryd, gyfodiad y dyfroedd i drumanau y mynyddoedd. Os ydyw yr Arglwydd wedi gorchymyn adeiladu arch ar gynllun neillduol, na fydded i un enaid ofni na fydd yn ddwfrddaliadol, neu ynte fod perygl iddi ymchwelyd. Os oes dynion i'w cael a geisiant ein perswadio fod perygl i goed Gopher ein harch ymagor, ac fod gwneyd ffenestri ynddi yn ynfydrwydd adeiladol, bydded genym fwy o ffydd yn Nuw nag mewn dynion. Os ydyw yr Arglwydd wedi trefnu i'r ordinhad o fedydd fod yn gyfrwng ein trosglwyddiad i fyd newydd, lle nad oes ond creaduriad newyddion, yn milodfa trugaredd, na fydded i neb feiddio ei daflu o'r naill du, na siarad yn ysgafn am ei urddas a'i bwysigrwydd.

# Y GYFFELYBIAETH GYFATEBOL.

"Cyffelybiaeth cyfatebol i'r hwn sydd yr awrhon yn ein hachub ninau, sef bedydd (nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw) trwy adgyfodiad Iesu Grist.—1 Petr iii. 21.

GAN Y PARCH. T. C. EDWARDS (CYNONFARDD).

Dwfr y diluw yw y "cyffelybiaeth" sydd yn "gyfatebol" i ddwfr ein bedydd ni. Gwaredigaeth preswylwyr yr arch, trwy eu hufudd-dod i orchymyn Duw, yw y "cyfatebiaeth" sydd yn "cyfateb" ein cadwedigaeth ni, trwy gredu o honom yn Nghrist, a bwrw ymaith fudreddi y cnawd, ar ymateb cydwybod dda tuag at Dduw.

Mor belled, cyduna y taenellwyr a'r trochwyr yn eu hesboniad o'r adnod hon; ond gwahaniaethant ychydig wrth egluro cysylltiad y bedydd ag adgyfodiad Iesu Grist. Er mwyn cadarnhau ysgrythyroldeb bedydd trwy drochiad, cynygir esboniad llythyrenol ar "gladdu" a "chyfodi;" ond mae galw i gof y desgrifiad sydd genym o fedd Iesu Grist, ac o'r dull y claddwyd ef, ac yr adgyfododd, yn troi y ddadl bob tro yn erbyn "trochi gydag ef trwy fedydd i farwolaeth." Felly hefyd yn nglyn a'r adnod uchod yn 1 Petr iii. 21. Os arosir gyda'r llythyrenol, fel y myn rhai esbonwyr, canfyddir na throchwyd yr oll o'r arch yn nwfr y diluw, ac mai *tywallt* arni wnaeth y cymylau.

Er mwyn cyrhaedd amcan fy mrawd, Mr. James, wrth geisio genyf ysgrifenu rhai nodiadau ar yr ad-

nod, goddefer i mi draethu yn fanylach fy marn ar fedydd, &c.

Fel y sylwa Dr. Whedon, mae yr ysgrythyr yn ddieithriad yn darlunio gweinidogaeth yr Ysbryd Glan (adfywiol a sancteiddiol), yr hyn a elwir bedydd, trwy dywalltiad ar y gwrthddrych, ac nad yw y gweithrediadau eraill o eiddo yr Ysbryd yn cael eu galw yn fedydd. Esaiah xliv. 3; Ezec. xxxvi. 25–27; Titus iii. 5, 6.

Mae digon o brofion fod bedydd dwfr yn arwyddlun (*type*) gweledig o fedydd yr Ysbryd Glan. Marc i. 8; Luc iii. 16; Mat. iii. 11.

Mor belled ag wyf wedi canfod yn ysgrifeniadau y trochwyr eu hunain, nid oes un o honynt yn dynodi bedydd yr Ysbryd Glan fel trochiad y gwrthddrych yn yr elfen, ond yn hytrach yn dywalltiad o'r elfen ar y gwrthddrych. Actau x. 44–47. Yma, mae derbyn y tywalltiad, a bod yn fedyddiedig â dwfr, yn cynwys yr un peth. Sylwch fel y dywed Petr am hyn (Actau xi. 15, 16); fel y mae yn galw *tywalltiad*, a *disgyniad* yr Ysbryd Glan, yn *fedydd.*

Felly dyfyna o Joel. Actau ii. 16, 17, &c. Bedyddier chwi, a chwi a dderbyniwch ddawn, neu rodd yr Ysbryd Glan. Nis gall dyn dderbyn yr hyn y trochir ef iddo. Gwnaeth Duw y bedydd ysbrydol yn weledig ddwy waith, ar ddau dro, trwy ddisgyniad: (1.) Y tafodau o dân, a "*eisteddodd ar bob un o honynt.*" (2.) Y disgyniad megys colomen *arno Ef.*

Pan mae Duw yn dangos sut mae ef yn bedyddio, mae yr elfen yn disgyn. Mae Alexander Carson wedi bytheirio atebion cnawdol i rai o'r profion blaenorol, y rhai a ail-adroddir gan holl bleidwyr tansuddiad yn

unig, er mwyn cynal yn weddol o foneddigaidd arferiad a dyfodd arnynt.

Mae yr arferiad o dansuddo, neu drochi, a galw hyny yn fedydd, wedi ei gymeryd oddiwrth ystyr glasurol y gair *Baptizo*, a honi nas gall y gair olygu dim arall, tra mae Duw yn galw tywallt yn *baptizo*.

Gyda golwg ar "amryw fedyddiadau" yr Hen Destament, nid yw y gair Hebraeg yn golygu tansuddo, ond yn yr ystyr o olchi llestri; y Saesoneg yw *sprinkle*, *wash*, *bathe*,—taenellu, golchi, baddo. Dywed Bush, yn y "Scripture Illustrations," tu dal. 473, nad yw baddo yn y Dwyrain yn golygu tansuddo, ond tywalltiad. Sylwer ar rai o'r amryw fedyddiadau:

(*a.*) Exodus xxix. 4–21—Bedydd yr offeiriaid. Yr oedd Moses, wrth ddrws y tabernacl, i daenellu â gwaed, ac i olchi a dwfr, Aaron a'i feibion.

(*b.*) Bedydd y Lefiaid—Taenellu dwfr arnynt, er puredigaeth.

(*c.*) Bedydd y gwahangleifion—Taenellu gwaed aderyn ar y glanedig.

(*d.*) Bedydd yr holl bobl—Wedi i Moses orphen adrodd yr holl orchymynion, &c., cymerodd waed, &c.

Yn ystod y pedwar can' mlynedd a basiodd rhwng yr Hen Destament a'r Testament Newydd, dyfeisiodd y Rabbis Iuddewig fedydd i'r dychweledigion i'r ffydd, a galwyd y bedydd hwnw yn Hebraeg tansuddo, ac yn Groeg *baptizo*. Yr oedd y pwnc o fedyddio proselytiaid yn destyn dadl yn yr ysgolion Hebraeg ddeugain mlynedd cyn genedigaeth Crist. Felly cawn yn y cyfnod hwn y ffurf o ddwyfol osodiad, *taenellu* a *thywallt*, yn dyfod at ochr y ffurf ddynol o fedyddio.

trwy drochiad a thansuddiad. Mabwysiadwyd y gair *Baptizo* yn fuan i ddynodi pob math o olchiadau cysegredig. Defnyddir y gair yn yr Apocrypha i ddynodi taenelliad yr hwn a halogid trwy gyffwrdd a chorph. Gwel Sirach xxxiv. 25. Felly pan ddaeth Ioan Fedyddiwr, hwn oedd y gair mwyaf addas a phriodol iddo ef ddefnyddio yn ei gyfeiriadau at fedydd dwfr a bedydd yr Ysbryd Glan. Rhaid i ni oll gredu fod Ioan wedi bedyddio llawer, ond *nid oes un prawf* ei fod wedi *trochi neb.* Oni fedyddiodd ef "yn yr afon"? Do. Mae miloedd wedi bod *yn yr Iorddonen* heb wlychu eu gwadnau. Gellir sefyll yn yr afon hono, yn ei *chanol* hi ar dir sych. Er fod hyny yn wir, credwn fod Ioan wedi myned a'r Iesu, ac eraill, *i'r dwfr*, ac yno godi dwfr a'i law, a'i dywallt ar y bedyddiedig (*neu ei daenellu*); a dywedai ei fod yn rhagflaenu un a daenellai genedloedd lawer.

Mae Dr. Hibbard, yn ei "Christian Baptism," yn cyfrif y byddai rhaid i Ioan fedyddio deugain person y fynyd er gallu trochi y tyrfaoedd a aethant allan o Jerusalem a Judea, &c.

Mae yr hen ddarluniau (*paintings*) a wnaed yn y chweched ganrif, gan yr hen feistri, yn darlunio Ioan yn sefyll yn yr afon, a'r bedyddiedig ar ei liniau, tra fyddai Ioan yn codi dwfr i'w dywallt ar ei ben.

Mae genym hanes anffaeledig am un ceidwad carchar a fedyddiwyd yn ei dy ganol nos. Chwerthinus iawn yw y dull y ceisir egluro trochiad yn nglyn a'r hanes, trwy honi fod y ceidwad wedi myned gyda Paul a Silas i'r afon Strymon ganol nos; neu "yn *sicr* fod

*bath tubs* yn y carchar," ac i'r Apostol roddi claddedigaeth i'r teulu yn y twba.

Anhawdd iawn cysoni trochiad â bedydd Saul, pan ddywedir iddo *godi*, a *chael ei fedyddio*, heb unrhyw awgrym am symud o'r fan i afon na *bath room*. Felly hefyd hanes Petr yn nhy Cornelius. "A all neb luddias dwfr?" &c.

Yn eglwys Groeg mae y cof-golofnau cerfiedig yn arddangos Crist a Ioan yn sefyll yn y dwfr, a Ioan yn tywallt dwfr ar ben yr Iesu.

Ond gofynir yn aml, "Onid trochi oedd arferiad y ddwy ganrif gyntaf o'r oes Gristionogol?" Fel y nodwyd eisoes, yr oedd trochiad yn bodoli yn mysg yr Iuddewon cyn geni Crist; ond ffrwyth dirywiad moesol oedd hyny.

Trwy gynydd arferion defodol, ac o herwydd hinsawdd boeth y De, ac ystyr glasurol y gair *Baptizo*. yn nghyd a llawer o ddirwyiadau eraill a fabwysiadwyd gydag eglwys Rhufain, daeth trochi yn arferedig trwy fyned yn *noeth i'r dwfr dair gwaith yn olynol*. Eto, mae profion boddhaus o arferiad bedydd trwy daenelliad a thywalltiad yn y cyfnod boreuaf o'r oes Gristionogol. Yn ysgrifeniadau Barnabas a Hermas, y tadau apostolaidd, mae aml gyfeiriadau at fedydd trwy daenelliad. Yn "Apology" Justin Martyr i'r Ymerawdwr, yn y flwyddyn A. D. 150, mae ef yn gochelyd defnyddio y gair *Baptizo*, rhag i'r Ymerawdwr dybio ei fod yn golygu trochi, a defnyddia y gair *louo*, *to wash*, i olchi; ond yn ei ysgrifeniadau eraill, gwna ddefnydd rhydd o'r *Baptizo*, yr hyn a ddengys fod Justin Martyr yn cydnabod gwahaniaeth rhwng ystyr gysegredig ac ys-

tyr glasurol y gair. Er mor ddyddorol ydyw olrhain hanes y pwnc o fedydd trwy wahanol gyfnodau yr eglwys, rhaid ymatal. Er nad wyf yn dysgwyl y bydd i mi argyhoeddi unrhyw Fedyddiwr trochedig trwy y sylwadau hyn, dichon y gallaf gadarnhau ryw fedyddiwr taenelledig trwyddynt, ac anrhydeddu y gwirionedd. Ac hyderaf, yn ofn yr Arglwydd, y bydd i holl ddarllenwyr y gyfrol hon gael eu bedyddio nid a dwfr yn unig, ond hefyd a'r Ysbryd Glan ac a thân.

---

## YR YSGRYTHYR O DDEONGLIAD PRIOD.

"Gan wybod hyn yn gyntaf, nad oes un brophwydoliaeth o'r ysgrythyr o ddeongliad priod."—2 PEDR i. 20.

Gallwn yn hawdd gredu mai yr

YMHOLIAD

canlynol fuasai unrhyw athraw yn ei wneyd, pe y dygwyddai i'r adnod anhawdd hon ddyfod o dan sylw ei ddosbarth: Pa beth ydyw ystyr y gair *priod* yn y frawddeg hon? Nid ydyw yn anhawdd deall y gair *deongliad*, ac y mae amgylchranau y benod, yn ogystal a'r adnod ei hun, yn neillduoli ysgrifeniadau prophwydol yr Hen Destament, fel y pethau nad ydynt o ddeongliad priod. (Edrycher ar adnodau 19 a 21.) Y mae y prif anhawsder yn gorori yn y gair bychan *priod*. Mewn ymddyddan cyffredin, defnyddir y gair hwn i ddynodi un wedi priodi, neu ynte, yr hyn sydd briodol a chyfleus; ond eglur ydyw, nad y naill na'r

llall o'r ystyron yna sydd i'r gair yn y berthynas hon. Y mae llawer lladmerydd dysgedig wedi bod yn ceisio deongli y gair a ddengys ansawdd *deongliad* y testyn, ac yn yr achos hwn, tybiwn nas gallwn wasanaethu y gwirionedd yn well na rhoddi ffrwyth eu hymchwiliadau ysgolheigaidd hwy. Yn nghyfrol werthfawr y Parch. J. W. Haley, M. A., ar "*The Alleged Discrepancies of the Bible*," ceir crynodeb o'r darlleniadau a'r aralleiriadau a ystyrir yn fwyaf cywir ac eglurhaol. Wedi rhoddi y cyfieithiad Syriaidd o'r geiriau, gesyd Mr. Haley ger bron y dyfyniadau canlynol:

Esgob Horsley: "Nid oes un brophwydoliaeth o'r ysgrythyr o hunan-ddeongliad, neu yn ddeonglydd o honi ei hun; oblegid nid ydyw prophwydoliaethau yr ysgrythyrau yn rhagfynegiadau didoledig am ddygwyddiadau annibynol a gwahanedig, eithr y maent yn unedig mewn cyfundrefn reolaidd a chyflawn, oll yn terfynu mewn un gwrthddrych gogoneddus—lledaeniad yr efengyl, a sefydliad perffaith teyrnas y Messiah."

Dr. John Owen: "Nid cynyrch brwdfrydedd dychymygol dynion, nid ffrwyth dirnadaeth eu meddyliau hwy eu hunain, nid deongliad o ewyllys Duw gan ddeall dyn; hyny ydyw, o eiddo y prophwydi eu hunain."

Dr. Adam Clarke: "'O ddeongliad priod,' yn deilliaw o *wybodaeth* neu *ddyfais* y prophwyd ei hun; neu ynte yn genedliad *cyfrifiad* neu *amcaniaeth*. Yn mhell o ddyfeisio testyn eu rhag-fynegiadau, nid ydoedd y prophwydi henafol yn gwybod hyd yn nod ystyr yr hyn a ysgrifenent eu hunain."

Archesgob Whately: "Nid ydyw prophwydoliaeth i fod yn ddeonglydd iddi ei hunan; hyny ydyw, ni ydyw ei synwyr llawn i'w wneuthur allan (fel cyfansoddiadau o fathau eraill) drwy fyfyrdod o eiriau y brophwydoliaeth ei hun, ond i gael ei deongli gan y dygwyddiadau sydd yn gyflawniad o honi."

Dr. Samuel Davidson: "Nid oes un brophwydoliaeth yn caniatau eglurhad *priodol i'w llefarwr.*"

Dr. Charles Hodge: "Yr oedd yr hyn a ddywedai prophwyd, nid yn ddynol, ond yn ddwyfol. Nid deongliad ydoedd o eiddo y prophwyd ei hun o feddwl ac ewyllys Duw. Yr oedd yn llefaru megys cyfrwng yr Ysbryd Glan."

Alford, Tholuck, De Wette a Huther. "Y mae prophwydoliaeth yn tarddu, nid o ddeongliad dynol; hyny ydyw, nid ydyw yn rhag-ddywediad o eiddo dyn yn gwybod pa beth a feddyliai pan yn ei lefaru."

At yr uchod gallwn ninau ychwanegu y Cyfieithiad Diwygiedig, yr hwn a ddarllena: "Gan wybod hyn yn gyntaf, nad oes un brophwydoliaeth o ddeongliad dirgelaidd" (private [ymyl y ddalen, *special*] interpretation).

Gwelir fod ychydig wahaniaeth rhwng y darlleniadau uchod, ond gyda eu gilydd, y maent yn ein harwain i gredu mai dysgeidiaeth y frawddeg ydyw: *Fod y gallu a feddai y prophwydi i ragfynegi dygwyddiadau y dyfodol nid yn feddianedig ganddynt hwy eu hunain, ond yn gyfranedig iddynt gan Ysbryd yr Arglwydd.* Y mae y deongliad hwn yn cytuno, yn

(1.) *A hanfod pob gwyddadaeth resymol am ysbrydoliaeth y Beibl.* Y mae amryw frydegau gwahanol

parth modd a graddau yr ysbrydoliaeth ddwyfol a gyfarwyddai feddyliau y prophwydi. Deil rhai fod pob prophwyd yn derbyn hyfforddiant pa fodd i gyfansoddi a lleoli pob brawddeg, pob gair, pob sill, ac hyd yn nod arwyddnodau lleiaf y llafariaid Hebreig, ac felly nad oeddynt hwy ond ysgrifen-weision yn llaw Ysbryd Duw. Barna ereill fod sylwedd y genadwri yn cael ei drosglwyddo i feddwl y prophwyd gan yr Ysbryd, ond fod ffurf a threfn y geiriau a'r brawddegau yn gynyrch chwaeth a gallu y prophwyd ei hunan. Barna eraill drachefn fod cysylltiad Ysbryd Duw ag ysbrydoedd y prophwydi yn gynwysedig yn unig mewn rhyw fath o oruwch-lywodraeth ddyrchafol, gyfeiriol, a chywirol. Myntumia dosbarth arall fod pob prophwydoliaeth yn ddwyfol, ond nad ydyw dull ei rhoddiad i'r llefarwr bob amser yn wyrthiol; eithr yn hytrach yn effaith ymwneyd a'r meddwl mewn ffordd gyffredin. Gan nad pa un o'r gwyddorau uchod sydd gywir, nid oes un gwrthdarawiad rhwng y deongliad uchod a'r cyfryw. Y mae yr eglurhad yn cytuno, yn

(2.) *A thystiolaeth yr ysgrifenwyr sanctaidd am darddell y cenadwriaethau a ymddiriedwyd iddynt.* Hawliai y prophwydi eu bod yn traddodi i'r byd yr hyn a dderbyniasent gan Dduw. Gellir gweled yr honiadau hyny yn y lleoedd canlynol, a'u cyffelyb: 2 Sam. xxiii. 2; Jerem. i. 9; Rhuf. iii. 2; Act. i. 16; 2 Pedr i. 11; 1 Cor. ii. 13; 2 Tim. iii. 15, 16; &c.

Y mae yr eglurhad yn cytuno, yn

(3.) *A syniadau tra-dyrchafol yr oesau am Lyfr ardderchog yr Arglwydd.* Yn hyn y gorwedd ei ragoriaeth anfeidrol ar holl lyfrau y byd. Gallem fabwys-

iadu syniadau yr enwog Farrar pan yn ysgrifenu ar "Ysbrydoliaeth y Beibl" yn y "*Bible Educator*," a dweyd, "Y mae dalenau pob llyfr arall yn dwyn prawfion ar eu gwyneb o wendid, a phechod dynol, ond nid oes cymaint ag un staen ar hwn o'i ddechreu i'w ddiwedd. Yn llyfrau y ddaear, gwelir yn fynych nwydau dynol yn ysgubo drostynt, ond nid oes yn hwn byth frawddeg aflywodraethus. Y mae pob llenyddiaeth arall yn ymddibynu am ei gallu ar athrylith ddynol, a gogoniant hyawdledd dyn; ond nid ydyw llenyddiaeth y Beibl yn ymddibynu ar y fath addurniadau, ac y mae yn tra-rhagori ar bob peth hebddynt. Y mae llyfrau eraill yn ymwneyd ag amserau a chenedloedd neillduol, ond hwn yn dal perthynas a phob oes, ac a phob cenedl. Ymddibyna pob cyfrol arall, i raddau helaeth, am ei llwyddiant ar yr iaith yn mha un yr ysgrifenir hi, ond ymddibyna y gyfrol hon am ei llwyddiant ar yr ysbrydoliaeth sydd yn llifeirio drwyddi."



## NEFOEDD NEWYDD A DAEAR NEWYDD.

"Eithr nefoedd newydd, a daear newydd, yr ydym ni, yn ol ei addewid ef, yn eu dysgwyl, yn y rhai y mae cyfiawnder yn cartrefu."—2 PEDR iii. 13.

Un

YMHOLIAD

mawr sydd yn cael ei gymell gan y geiriau hyn, sef, Pa beth a olygai Pedr wrth y *nefoedd newydd*, a'r

*ddaear newydd* y dywed fod Crist wedi eu haddaw, a'r Cristionogion yn eu dysgwyl?

Y mae y testyn yn un o gyfres o gyfatebiaethau rhwng sefyllfa y byd cyn, ac wedi y diluw, a sefyllfa y byd cyn, ac wedi y farn dragywyddol. Amcan y cyfatebiaethau yn nghyd ydyw profi sicrwydd dinystr olaf anian. Yr ymresymiad sydd gan Pedr ydyw hwn: boddwyd y byd unwaith a diluw; yr oedd cyflwr y byd yn flaenorol i'r trychineb hwnw yn gyffelyb i'r hyn fydd cyflwr y byd yn flaenorol i'w olosgiad diweddaf; os y boddwyd y byd yn yr amgylchiadau hyny, y mae yn dyfod yn gredadwy y llosgir y byd yn yr unrhyw amgylchiadau. Yn yr adnodau blaenorol, y mae yr Apostol yn rhag-hysbysu ymddangosiad dosbarth o ddynion yn y byd, dynion ag y mae hyd yn nod eu henwau, byth er pan gyfansoddwyd y *Salm* gyntaf, yn gollwng allan arogl ffiaidd cabledd, sef *gwatwarwyr*. Pe byddai yn ngallu y rhai hyn, taflent Dduw oddiar orsedd y cyfanfyd, ac alltudient ef yn dragywyddol o derfynau ymwybodolrwydd dynion. Dywedir y bydd i'r gwatwarwyr hyn ymddangos "yn y dyddiau diweddaf," ac y gofynant yn wawdiol a gwatwar-wenog, "Pa le y mae addewid ei ddyfodiad ef? Canys er pan hunodd y tadau, y mae pob peth yn parhau fel yr oeddynt o ddechreuad y greadigaeth" (adn. 4edd). Bydd iddynt ymresymu bodolaeth dragywyddol mater, a hyny yn ei ffurf bresenol; y bydd cylch-deithiad y tymorau yn ddiderfyn, ac na chymer byth un ataliad le yn nirwyniad annherfynol ser a phlanedau. Claddu ymresymiad anffyddol y gwatwarwyr hyn mewn tywyllwch a gwarth ydyw amcan Pedr yn y benod, ac y mae

yr adnod uchod yn gyfran o'r ymresymiad hwnw. Megys y dywedasom, y llwybr a gymera ydyw ymresymu y *posiblrwydd* o ddinystr y cread yn y dyfodol oddiwrth y dinystr a fu arno yn y gorphenol, yn nyddiau Noah. Gallasai Pedr, a gall dynion eto, sylfaenu y grediniaeth o gyfnewidiad olaf anian ar brofiad y byd o bob peth materol a gweledig. Dysga holl ysgolion athroniaeth naturiol, fod pob gwrthddrych anianyddol, dan ddylanwad deddfau digyfeiliorn y greadigaeth, yn cyrhaedd rhyw argyfwng yn ei hanes. Y mae pob peth o'n deutu yn cyrhaedd at ryw eithaf bwynt, ac wedi cyrhaedd hwnw, yn edwino, ac yn gwywo ymaith. Y mae hyn yn wirionedd eglur am bob peth creadigol; yn wirionedd am flodau, am dymorau, am anifeiliaid, am ddynion, am bawb. Dyna y blodeuyn a gafwyd yn anrheg gan gyfaill; wedi bod yn y ffenestr am ysbaid, dengys ei rudd fod afiechyd wedi gafael ynddo. Symudir ef yn gyfagos at y tân rhag ofn ei fod wedi cael anwyd, ond gwywo wna yn y gwres. Gosodir ef drachefn mewn safle fanteisiol i ddal gohebiaeth a'r haul, ond nid oes arwydd o ddychweliad ei yni. Gofynir ganddo ddrachtio y dyfroedd a osodir ar ei wefus gyda yr un gofal ag a arferir gan y fam wrth wlychu gwefus ei phlentyn â gwin, tra yn marw; ond yn lle adfywio, gwanychu y mae. Er pob peth, y mae deddf ei fodolaeth yn dirwyn i fyny. Y mae hyn yn wirionedd, nid yn unig am y blodeuyn, ond hefyd am yr haul. Y mae diwrnod mawr yr haul yn mlaen. Diwrnodau pwysig iddo ef ydoedd diwrnodau arliwio blodau amryliw Paradwys; pelydru ar lwybrau Abraham yn Mesopotamia; edrych ar losgiad dinasoedd y

gwastadedd; ac yn enwedig, gwisgo ei orchudd ddu pan welodd ei Grewr yn trengu yn Nghalfaria. Ond y mae ei ddiwrnod mawr ef yn nes yn mlaen, y diwrnod pan y caua ei lygad ei hunan yn angeu. Y mae holl gerbydresi y cread yn esgyn i ben goswyneb (*incline*) bodolaeth, ac unwaith y cyrhaeddant yno, o angenrheidrwydd, bydd yn rhaid iddynt gyflymu i'r ochr draw. Ond nid ar athroniaeth y sylweddau creadigol y sylfaena Pedr ei ymresymiad o ymollyngiad olaf anian, eithr yn hytrach ar amgylchiad hanesyddol ag y mae traddodiad, daeareg, a Beibl, yn cyd-dystiolaethu i'w ddygwyddiad. Gallasai Pedr, a gall dynion eto, nid yn unig apelio at ddeddfau adnabyddus, bywhad a marwolaeth mater, am sail i'r grediniaeth o doddiant y cread yn ngwres y farn; ond gallasai hefyd ddyfynu tystiolaethau digamsynied yr ysgrythyrau. Y mae yma ganoedd o adnodau yn y Llyfr ag ydynt megys tân-glychau y dinasoedd, yn galw sylw dynoliaeth at y tân mawr agoshâol. Y mae anian, a defnyddio iaith Paul, megys carcharor prudd yn edrych rhwng barau ei gell am ddydd ei ryddhad, a datguddiad meibion Duw. Yn y benod hon, nid y tebygolrwydd, ac nid y sicrwydd o olosgiad cyffredinol sydd gan Pedr, ond y posibilrwydd o hono; ac wrth ddysgu hyny, noda allan amryw ffeithiau yn hanes boddiad y byd ydynt yn meddu ar eu gwrthbarthau yn athrawiaeth llosgiad y byd. Y mae y gyfatebiaeth yn darawiadol ac addysgiadol. Sylwer arni,

1. *Megys ag nad ydoedd meithder y cyfnod a gyfryngai rhwng creadigaeth y byd a'r diluw yn un rhwystr i'r diluw ddyfod, felly ni fydd i ohiriad yr*

*argyfwng olaf luddio ei ddyfodiad yntau.* Pan yn ysgrifenu am y ddaear cyn y diluw, dywed yr Apostol ei bod yn sefyll *o'r* dwfr, a *thrwy* ddwfr, "er ys talm." Defnyddia ymadrodd anmhenodol, "er ys talm." Nid rhywbeth newydd gymeryd lle ydoedd creadigaeth y byd, yn amser y cynddiluwiaid. Ac y mae yn dra theilwng o sylw, mai darlunio y gwaith creadigol tra yn ei sefyllfa dryblithol, y mae Pedr, ac nid ar ol ad-drefniad y chwech diwrnod. Yr oedd y ddaear, fel y darlunia hi, yn sefyll "o'r dwfr, a thrwy ddwfr." A a'r meddwl yn ol cyn creadigaeth Adda, pan oedd an-nhrefn yn rhedeg yn wyllt, cyn fod crystyn y ddaear wedi caledu, pan ydoedd tywyllwch yn ymddeor ar wyneb y dyfnder. Gall Pedr, felly, wrth ddesgrifio oedran y byd cyn y diluw, fod yn myned a ni yn ol, nid dros chwe' mil o flynyddoedd, ond dros chwe' mil o oesau; beth bynag at gyffiniau y *dechreuad* mawr yn mha un y creodd Duw y nefoedd a'r ddaear. Y mae llawer o ymgeisiadau wedi eu gwneyd er penderfynu pa bryd yr ymnwyfodd natur yn ei babandod. Y mae Hugh Miller, a daearegwyr eraill, wedi bod yn ymdrechu cyfieithu geirluniau Duw, cerfluniedig yn y graig, ac wedi disgyn i lawr, gan wneyd grisiau o haen ar ol haen, a phob haen yn dynodi cyfnod yn ffurfiad y cre-ad, i lawr at y gronynfaen sylfaenol, y man lle y mae echelydd y byd yn troi, ac y maent hwy wedi cyhoeddi yn ddibetrus fod y byd wedi ei gawellu gan anfeidrol allu filoedd o flynyddau cyn fod Adda wedi teimlo gwaed-guriad bywyd. Y mae yn wir fod anian yn y gwanwyn yn ymddangos yn llonwych a gwisgi. Y mae ei dillad yn fwy eirian na gwaith yr efelychydd celf-

yddydol, eto rhaid peidio anghofio, ac nis gellir gwadu, mai addurniadau cywrain, ond gwywedig, ydynt oll.

Na feddylied neb fod gwaith natur yn gwisgo yn ieuanc yn profi ei bod felly; na, yr hen fam anwyl, pan y mae yn ymneillduo i orphwys yn yr hydref, y mae ei phen gwyn yn dyfod i'r golwg, y mae ei henaint ardderchog yn ymddangos, a rhychau dyfnion ei gwyneb yn hawdd eu gweled. Yn ei henaint, er hyny, y mae yn dra charedig i'w holl blant; ac wedi i bawb ei gwrthod, egyr hi ei mynwes i roddi gorphwysfa iddynt, hyd yr adeg y cyflwyna hwy yn anfarwol i Frenin nefoedd a daear. Yn nghyfrifiad dyn, meddai Pedr, gall y cyfnod oddiyma i'r farn olaf ymddangos yn faith ac estynedig, ond yn nghyfrifiad dyn yn unig y mae felly. Nid felly yr ymddengys i'r Arglwydd. "Eithr yr un peth hwn na fydded yn ddiarwybod i chwi, anwylyd, fod un dydd gyda'r Arglwydd megys mil o flynyddoedd, a mil o flynyddoedd megys un dydd." (Adn. 8.) Gan nad oes dim yn mynwes Duw ond llanw tragywyddol o addfwynder a dedwyddwch, a hwnw yn bur, yn ddigymysg, ac yn annherfynol, nid ydyw hirder na byrder amser yn ddim i'r Jehofah. Y peth sydd yn cymell dyn i sylwi ar dreigliad amser ydyw, ei fod yn annedwydd. Prawf sicr fod y dyn yn credu y buasai yn ddedwyddach yn rhywfan arall amgen yn yr addoldy, ydyw ei waith o hyd yn edrych i gyfeiriad yr awrlais. Nid ydyw dyn wedi ymgolli mewn dyddordeb, yn gwybod dim faint ydyw o'r gloch. Ac yn wir, dyn ddyfeisiodd offerynau drwy ba rai y mae amser wedi ei ranu i oriau, chwarteri, a momentau. Pan wnaeth Duw awrlais mawr y cread, gwnaeth ef yn y fath fodd

fel na wyr dynion ddim faint ydyw o'r gloch ar eu tyngedfen; ac ni fydd i gloc mawr Duw daro hyd nes y tery haner nos yn uffern, ac un o'r gloch y boreu yn neuadd gwleddoedd yr Oen. Ond y mae yn bur debygol fod yr Apostol, wrth ddweyd "fod un dydd gyda'r Arglwydd megys mil o flynyddoedd, a mil o flynyddoedd megys un dydd," yn cyfeirio yn benaf at ddrychfeddwl arall, sef na fydd i amser, gyda ei holl gyfnewidiadau, rwystro dygiad oddiamgylch gynlluniau bwriadedig y nefoedd. Nid felly y mae gyda dyn. Yn nghwrs amser, gall myrdd a mwy o bethau ddygwydd iddo ef. Y mae yn rhaid iddo wneyd brys i osod ei gynlluniau mewn gweithrediad, onide disgyna ei ben i'r gweryd yn llawn o ddyluniadau anghyflawnedig. Ond nid oes eisiau i'r Anfeidrol fod mewn unrhyw frys; y mae tragywyddoldeb ar ei hyd at ei wasanaeth ef. Os ydyw yn ei gyngor wedi gosod dyddiad y farn yn mhell yn mlaen ar groniclau y dyfodol, ni fydd i ddim a ddygwydd yn y cyfamser, rwystro ei ddyfodiad. Ac y mae yna ryw reswm trugarog dros yr oediad. Dyma ef: "Nid ydyw yr Arglwydd yn oedi ei addewid (fel y mae rhai yn cyfrif oed) (oediad) ond hir-ymarhous yw efe tuag atom ni, heb ewyllysio fod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch." (Adn. 9.) Buasai dydd y cyfrif manwl wedi myned heibio; buasai damnedigaeth myrdd o eneidiau yn ffaith hanesyddol, pe na buasai am drugaredd Ior. Y mae ef wedi trefnu i oes ar ol oes fyned heibio, i genedlaeth ar ol cenedlaeth i basio, a hyny er i'w galon fawr dderbyn rhyddhad wrth wneyd miliwnau ychwan-

egol yn llestri trugaredd. Hon ydyw y gangen gyntaf yn y gyfatebiaeth.

2. *Megys ag y crewyd ac y boddwyd y byd trwy air Duw, felly trwy offerynoliaeth yr un gair, gall gael ei ddinystrio eto.* Dywedir am y ddaear cyn y diluw, ei bod trwy AIR Duw yn sefyll o'r dwfr, a dywedir am y byd cyn y farn, "Eithr y nefoedd a'r ddaear sydd yr awrhon, ydynt trwy yr un GAIR wedi eu rhoddi i gadw i dân, erbyn dydd y farn, a distryw yr anwir ddynion." (Adn. 7.) Y cwestiwn pwysig i'r ymresymiad ydyw, a oes yn holl hanes gair Duw yn y gorphenol un engraifft o fethiant? Yn holl gylchoedd y cread, a ellir cyfeirio at un anffodrwydd a ddygwyddodd iddo? Os y gellir, nyni a wnawn y cyfaddefiad, er y bydd gwneyd y cyfaddefiad yn gwneyd y bydysawd i ni yn un cruglwyth o ansicrwydd; eto, deued a ddelo, nyni a wnawn y cyfaddefiad, y gall ef fethu drachefn yn y dyfodol. Beth bynag a fethodd unwaith, efe a all fethu eilwaith. O'r tu arall, os nad ellir nodi allan un cynyg anffynianol o eiddo y gair yn ol, gwasanaetha hyny yn gadarnhad i'r grediniaeth y bydd yn ddigonol yn mhob prawf dyfodol. Gair Duw wedi methu!! Na, pan lefarodd Duw y *gair* ar y dechreu, troai bydoedd yn eu cylchoedd o amgylch i'r orsedd, ac ymddangosai cyfundrefnau glanwedd, yn cael eu dirysgwyd gan chwerthin, yn ei bresenoldeb. Llefarodd y gair "Bydded," ac yn union yr oedd gorymdeithiau o fydoedd dysglaer a llawen yn weladwy o dan y bwäau tragywyddol. Gan eu hamlder, oraclwyd y ffurfafenau; ymguddiai planedau y tu ol i blanedau. Ymgnawdolodd y gair creadigol mewn crynswthau o

fater newydd ac ardderchog. Trwy "air ei nerth" y mae y cread mawr eto yn cydsefyll. Pe y gwanychai fel cynalbost yr adeiladwaith annherfynol, byddai y cwbl yn annhrefn, ac yn farwolaeth mewn eiliad. Gair Duw wrth ddisgyn ar wythienau y cread, yn amser y diluw, ddarfu eu hagor, fel y boddodd y byd yn ei waed ei hun. Cyn y gellir yn llwyddianus wrthbrofi dinystr olaf anian, y mae yn rhaid bod yn alluog i wadu bodolaeth myrdd o gysawdau; profi boddiad y byd â diluw yn gelwydd; ie, gwadu bodolaeth y Duw mawr ei hunan, ac nid oes ond yr *ynfyd* yn ei ymerodraeth a ymdrecha wneyd hyny.

3. *Megys ag y gadawodd y diluw ei argraff annileadwy ar y ddaear, felly gall tan y farn drachefn effeithio cyfnewidiadau cyffelyb, neu fwy.* Y mae wedi aros yn gwestiwn o ddadl yn mysg duwinyddion a gwyddonwyr, pa un a fu y diluw yn gyffredinol, neu beidio. A orchuddiodd ef yr oll, neu ran o'r ddaear? Yr ydym wedi bod yn rhoddi y gofyniad i wahanol awdurdodau, A fu y diluw yn gyffredinol? Y mae yr atebiadau a gawn yn gadarnhaol. Dywed esgyrniaeth yr afanc bach ar ben yr Himalaya, un fil ar bymtheg o droedfeddi uwchlaw gwastadrwydd y môr, fod y diluw wedi bod yn gyffredinol, onide nas gallasai ef gyrhaedd yno; mai cael ei gludo ddarfu iddo yn ngherbyd barnol y Brenin. Y mae anallu yr holl genedloedd i ddylyn eu hachyddiaeth yn mhellach yn ol na phreswylwyr yr arch, yn profi na ddarfu i un genedl orfyw y galanastra. Yr un peth ydyw tystiolaeth elephantiaid Affrica, a gafwyd yn gladdedig yn nhiroedd Tartari a Siberia. Dywed Josephus, yr hanesydd Iuddewig, Ber-

osus, yr hanesydd Chaldeaidd, Hieronymus, yr hanesydd Aiphtaidd, Abyderus, yr hanesydd Assyriaidd, fod y diluw wedi gorchuddio holl wyneb y ddaear; ac â hwy y mae Cyril, Diodorus, Strabo, Plato, ac Ovid yn cytuno. A phe na ddywedasai un o honynt hwy hyny, y mae tystiolaeth yr oraclau dwyfol yn ddigonol. Ac yn mhellach, difrodwyd a difwynwyd y ddaear gan y diluw mawr. Drylliwyd ei gewynau, symudwyd ei gwythienau o'u lleoedd, a chollodd ei gwyneb lawer o'i harddwch blagurog. Fu y ddaear byth yn iach wedi yr ysigfa ofnadwy a gafodd y pryd hwnw! Os yr effeithiwyd y fath gyfnewidiadau drwy ddwfr, ai anghredadwy yr effeithir cyfnewidiadau mwy gan dân y golosgiad?

4. *Megys yr ymddangosodd byd newydd ar ol y diluw, felly ymddengys nefoedd a daear newydd wedi helyntion y farn.* "Eithr nefoedd newydd, a daear newydd, yr ydym *ni* (yn wrthgyferbyniol i Noah) yn ol ei addewid ef, yn eu dysgwyl," &c.

Wrth y "nefoedd newydd a daear newydd" y golyga rhai y diwygiadau crefyddol mawrion sydd i flaenori y mil-flwyddiant. Yr ydym yn credu y daw y rhai hyny, ac y bydd eu dylanwad yn chwyldroadol, yn gymaint felly fel y gosodir gwedd o newydd-deb ar wahanol gylchoedd. Cyfnewidiad mawr fydd syrthiad Babylon, carthiad Mahometaniaeth o Jerusalem, adgyfodiad eglwysi Asia, a sychiant afon yr Euphrates, i wneyd ffordd i freninoedd y Dwyrain i ddyfod o dan luman y Groes. Bydd gwedd newydd ar y byd wedi i gyfandir anffyddol Ewrop ddyfod yn fagwrfa diwygwyr, a chaniadau iachawdwriaeth yn amgylchu yr yn-

ysoedd. Ond, gan mai rhywbeth i gymeryd lle *cyn* dyfodiad Crist ydyw hwna, rhaid i ni gredu mai nid adnewyddiad dynoliaeth ydyw yr hyn a addawir ac a ddysgwylir yn y geiriau hyn. Y mae yr olygfa hon i'w gweled y tu draw i fflamau y golosgiad, ac wedi i ddynion gael eu pwyso yn nghlorianau y farn. Drwy ddylanwad fferyllol tanau y dydd hwnw, bydd i'r ddaear gael ei glanhau, ei hysgafnhau, a'i gwneyd yn dryloew, fel y gall Duw ei chadw yn oes oesoedd yn un o gronfeydd ei gywreinion, modd y gallo y rhai a achubwyd arni, yn achlysurol ymweled a'i Bethlehem a'i Chalfaria hi. Cymer y fath ad-drefniad le yn y nefoedd ac ar y ddaear, fel, a siarad yn gymarol, bydd y ddwy adran yn gwbl newydd.

Diwrnod mawr fydd y diwrnod hwnw! Ystrom fawr fydd ystorm y farn! Clywir bualgorn yr archangel yn chwyrnogli yn yr entrychion. Gwelir y cread yn agor ei safn yn rhwth, megys mewn ymdrech yn tynu ei anadliad olaf. Bydd chwareufa yr ystormydd yn fflamiau, ac ystordai anweledig y cread yn dân. Clywir trwst ofnadwy myrdd o blanedau yn gwrthdaro yn erbyn myrdd o blanedau ar reilffyrdd yr eangder. Aiff tyrfaoedd o ser, hen ac ieuanc, allan o'r golwg y tu draw i leni bydoedd disgynedig. Gwelir bydoedd o ddwfr yn myned yn byramidiau o dân. Tynir i lawr scaffaldiau y cread, ac ymollynga a thodda pob peth gan wir wres. Berwa moroedd, hedfana mynyddoedd, llewyga ynysoedd, pob peth yn myned ac yn cyfnewid, ond Craig dragywyddol yr iachawdwriaeth. Os ysgydwa cyfandiroedd, deil y cyfamod yn ddigryn. Os y tywylla yr haul, gwena Haul y cyfiawnder. Os syrth

y ser, bydd seren Bethlehem yn llewyrchu. Os aiff yr adeilad ar dân, bydd ei breswylwyr yn ddiogel yn nhy Tad yr Iesu.

---

## Y DDADL RHWNG MICHAEL A'R DIAFOL YN NGHYLCH CORPH MOSES.

"Eithr Michael yr arch-angel pan oedd efe, wrth ymddadleu a diafol, yn ymresymu yn nghylch corph Moses, ni feiddiodd ddwyn barn gablaidd arno, eithr efe a ddywedodd, Cerydded yr Arglwydd dydi."—JUDAS 9.

Y mae gan esbonwyr bedair ffordd i ateb yr

### YMHOLIADAU

a awgrymir yn naturiol gan ddarlleniad y geiriau hyn. Yr ymholiadau ydynt: Pa berthynas a allasai fodoli rhwng Michael yr arch-angel, a chorph Moses? Pa beth a achlysurodd yr anghydfod rhwng yr archangel a'r diafol? Pa bryd, ac yn mha le, y cymerodd y ddadl a grybwyllir le?

Atebir hwy gan un dosbarth o esbonwyr drwy ddweyd na chymerodd y fath ymrafael le erioed yn wirioneddol, ond mai cyfeirio y mae Judas at chwedl Iuddewig, yn yr hon nis credai ei hunan, a hyny yn unig am ei bod yn gwasanaethu i egluro yr athrawiaeth a gymellai, sef, na ddylem "gablu y rhai sydd mewn awdurdod." Yn ol Origen, Newcome, a lluaws ar eu hol hwy, cyfeiriad sydd yma at draddodiad disail, a anwyd yn nychymyg y genedl, ac a groniclwyd megys gwir-

ionedd ganddynt yn un o'u llyfrau anghanonaidd; ond nad ydoedd Judas wrth grybwyll y traddodiad yn caniatau ei wirionedd, eithr yn unig yn tynu moeswers oddiwrtho. Gall y fath syniad, megys y mae, fod yn foddhaol i rai meddyliau; ond i grediniwr syml yn ysbrydoliaeth y Beibl, y mae y fath syniad yn creu anhawsder difrifolach na'r un y proffesa ei symud ymaith. Yn gymaint ag fod apostol ysbrydoledig yn hysbysu fod corph Moses wedi bod yn destyn dadl rhwng Michael a'r diafol, ac fod y ddau wedi gwrthsefyll eu gilydd a *rhesymau*, yr ydym yn cael ein gorfodi i gredu fod yr hanes yn wirionedd, gan nad pa un a fyddwn alluog neu beidio i daflu goleuni ar ei fanylion.

Ffordd arall, lawn mor anfoddhaol, o geisio myned i guddgellau yr adnod, ydyw drwy dybio fod yma gyfeiriad arallol at amgylchiad hanesiol a nodir gan y prophwyd Zechariah (Zech. iii. 2). Darlunia y prophwyd Josua yr archoffeiriad "yn sefyll ger bron angel yr Arglwydd, a Satan yn sefyll ar ei ddeheulaw ef i'w wrthwynebu ef," wrth yr hwn y dywedodd yr Angel, "Cerydded yr Arglwydd dydi, Satan." Honir fod Josua yr archoffeiriad yn cynrychioli y genedl Iuddewig, ac fod y genedl Iuddewig yn *gorph Moses* yn yr un ystyr ag y mae Paul yn galw Cristionogion yn *gorph Crist*, ac felly mai cyfeiriad sydd gan Judas yma at waith Satan yn gwrthwynebu Josua fel cynrychiolydd y genedl Iuddewig. Y mae y deongliad hwn mor ddirdyniedig, fel nas gall fod yn gredadwy.

Yn yr ymdrech i gyrhaedd at wir achos yr anghydfod rhwng Michael a Satan, cymer trydydd dosbarth

lwybr gwahanol, sef drwy geisio ei gwneyd yn debyg fod y diafol yn dadleu y dylasai Moses gael claddedigaeth gyhoeddus, ac nid claddedigaeth ddirgelaidd, ond mai ei amcan yn hyny ydoedd, nid anrhydeddu Moses fel y gwag honai, eithr yn hytrach rhoddi cyfleustra i'r Israeliaid gyfodi ei gorph o'r bedd, er ei addoli. Y mae llawer o ystyriaethau sydd yn gwneyd y grediniaeth hon yn un gymeradwy a phoblogaidd. Y mae yn cydredeg ag amryw ffeithiau adnabyddus; megys mai yr Arglwydd ei hunan ddarfu gladdu Moses; fod y gladdedigaeth yn ddirgelaidd; ac fod tuedd gref yn y genedl at eilun-addoliaeth. O dan yr amgylchiadau, ac ar wahan i ystyriaethau eraill, nid ydyw y dybiaeth fod yr Arglwydd wedi gosod Michael yn warcheidwad corph Moses, fod Satan wedi myned ato yn hawlio rhoddiad i fyny iddo ef gorph yr Arweinydd, ac mai ei amcan ydoedd dyrysu bwriadau Duw, a dwyn y genedl i addoli y creadur yn fwy na'r Creawdwr—yn gyfryw ag y gellir ei thaflu ymaith, oddigerth naill ai ei bod yn anghyson a thonyddiaeth rhanau eraill o'r ysgrythyrau, neu ynte fod tybiaeth arall ddirprwyol yn cymeradwyo ei hunan yn well. Ymddengys i ni fod cywirdeb y farn hon yn ymddibynu ar nodwedd yr atebion a ellir roddi i'r cwestiynau canlynol: A ydyw yr Hen Destament yn ein harwain i gredu fod tuedd yn y genedl Iuddewig, yn y cyfnodau hyny i addoli cyrph meirwon? A oedd syniadau y genedl am Moses, fel arweinydd, yn gyfryw ag ai gwnelai yn debyg y buasent yn ei addoli, ond iddynt gael golwg ar ei gorph? A ydyw yr ysgrythyr yn dysgu mai er atal eilun-addoliaeth yn Israel y claddwyd Moses gan yr Arglwydd ei

hunan, a hyny mewn llecyn anadnabyddus? Yr ydym yn rhwym o roddi atebiad nacaol i'r tri gofyniad hyn. Yr ydym yn credu, gyda y Parch. S. Cox, Nottingham, (*Expositor*, *Vol.* iii.,) mai y casgliad naturiolaf i'w dynu oddiwrth ddullwedd claddedigaeth Moses ydyw fod yr Arglwydd am osod arno, yn ei ei angeu, anrhydedd eithriadol ac arbenig, a hyny drwy drefn nad ydoedd y rhai ddarfu ei brofi a'i anymwybyddu am gynifer o flynyddoedd i gael unrhyw ran na chyfran yn ei gladdedigaeth. Rhagor na hyny, nid perygl y genedl ar y pryd ydoedd anwylo gormod ar goffadwriaeth Moses; yn hytrach ei anghofio ef, a gweithredoedd nerthol Duw drwyddo, wedi iddynt gael arweinydd newydd, llawer mwy cydweddol a'u chwaeth, yn mherson Josua. Ac yn mhellach drachefn, nid oes genym gymaint ag un engraifft o duedd yn y genedl, yn y cyfnod hwnw, at *gorph*-addoliad. Gwir eu bod yn eilun-addolwyr, ond nid yn *gorph*-addolwyr. Awgrymai corph i Iuddew alar ac aflendid seremoniol. Yr oedd y Gyfraith yn gosod nod o aflendid arno. Yr oedd beddrod Eliseus yn eu mysg, a daeth dyn marw i fywyd wrth gyffwrdd a'i esgyrniaeth yn ei fedd—ond nid addolasant ei esgyrn oblegid hyny. Os nad addolasant gorph fu yn gyfrwng gwyrth yn ei fedd, a hwnw yn gorph un ydoedd yn hynod boblogaidd yn ei fywyd, y mae yn rhaid credu nad oes sail i'r haeriad fod y genedl yn beryglus dueddol i addoli meirwon. Na, ynfydrwydd diweddarach yn hanes y byd ydyw dyn-addoliad, a gweddio ar seintiau ymadawedig.

Yr ydym yn troi bellach, gyda phryder, at y bed-

waredd olygddysg ar y geiriau tywyllion hyn. Y mae seiliau hono mewn dwy ffaith gydnabyddedig, sef yn

1. *Mai rhan o gosbedigaeth pechod ydyw llygredigaeth a dadfeiliad y corph yn y bedd.* Cyflog pechod, hyd yn nod yn y saint, ydyw marwolaeth; a rhan o farwolaeth ydyw llygredigaeth y corph. Rywfodd, y mae y Duw mawr wedi caniatau a threfnu fod diafol a phechod i barhau mewn awdurdod dros weddillion marwol pawb, heb eithrio ei bobl ei hunan, o ddechreu y byd hyd yr adgyfodiad; ac fel canlyniad, y mae gan ddiafol hawl yn nhiriogaeth angeu i falurio a llygru. Y mae ganddo gymaint o hawl ar gorph marw i'w lygru ag sydd ganddo ar enaid byw i'w boeni, ac nid ydyw yn debyg ei fod yn foddlon, dan unrhyw amgylchiad, i beidio ymarfer yr arwydd hwn o fuddugoliaeth Eden. Un o fwriadau mawrion Duw yn y drefn gyfryngol ydyw dileu yr awdurdod hwn, a chyfodi tyrfa nas dichon neb ei rhifo yn *anllygredig* ar ddelw ei anwyl Fab. Ond hyd yr adgyfodiad diweddaf, y mae cyrph y saint i fod yn weiniaid, yn llygredig, ac yn anmharchus. Ffaith arall a gydnabyddir ydyw

(2.) *Fod corph Moses wedi ymddangos yn ddilwgr ar fynydd y gweddnewidiad.* Yr ydym yn ei gyfarfod, yn mhen canoedd o flynyddoedd, ar fynydd gwyn Hermon, wedi dyfod yno yn gorphorol o dir Moab, yn agos i Beth Peor. Nid ei ysbryd oedd ar y mynydd, mwy nag ysbryd Elias, ond yr oedd *cyrph* y ddau yno. Oblegid hyny yr adnabyddwyd ef gan yr apostolion; y clywsant ef yn ymddyddan a'r Iesu am "yr ymadawiad a gyflawnai Efe yn Jerusalem;" ac oblegid hyny hefyd y cynygiodd Pedr wneuthur pabell iddo—gwel-

ai yn ei gorph y posiblrwydd iddo aros yn ei gymdeithas. Nid ydyw y ffaith ei fod yn ymddangos *mewn gogoniant* ar y mynydd yn wadiad o'i bresenoldeb corphorol, oblegid yr oedd corph y Ceidwad yn amwisgedig yn yr un gogoniant; ac eto, nid ydoedd wedi ymddiosg o'i ddynoliaeth ar y pryd. Ac y mae yn deilwng o sylw, tra yr oedd corph Elias yn dyfod i gyfarfod y mynydd a'r nefoedd, ac felly heb fod o dan ddylanwad deddf llygredigaeth, fod corph Moses yn dyfod yno o'r bedd, ond er hyny yn ymddangos yn hardd ac anllygredig. Paham hyny? Dyfod o diriogaeth llygredd yn anllygredig—pa beth a all gyfrif am beth mor ddyeithr? Tybed nad oes yn y fan yma allwedd a egyr ddorau cauedig y testyn? Ai nid ydyw y syniad ddarfod i'r Duw sanctaidd, nad all oddef drygioni yn ddigosb yn ei blant, drefnu angeu Moses ei was, ond i'r un Duw trugarog sydd yn gwobrwyo ffyddlondeb yn ei eiddo, drefnu nad ydoedd ei was, er marw, i weled llygredigaeth—yn taflu goleuni ar y cwestiwn dyrys hwn? Beth yn fwy naturiol na'r grediniaeth fod Duw wedi atal gweithrediadau deddf llygredigaeth yn achos arwr Israel—oblegid ymddengys yn ddilwgr ar fynydd Hermon; ac os caniateir cadwraeth eithriadol felly iddo, pa beth yn fwy rhesymol na'r syniad iddo osod archangel i wylio ei gorph? Ac y mae yr un mor naturiol i gredu fod y diafol yn gwrthryfela yn erbyn yr ymyriad eithriadol yma a'i hawliau, ac iddo, yn ei ddigllonedd, fyned at y beddrod i ymddadleu a'r gwarcheidwad? Felly dadl y diafol ydoedd fod cadwraeth anllygredig Moses yn afreolaeth anghyfiawn; ond dadl Michael ydoedd fod

ei Arglwydd yn meddu hawl uwchlaw ei hawliau Satanaidd, ac felly, os ydoedd wedi bwaiadu i Moses gael ei wobrwyo a chyfarfyddiad a'r Prophwyd Mawr, mai ei ddyledswydd ef ydoedd cadw gwyliadwriaeth ar ei fedd, ac nad ydoedd na dyn na diafol i gael cyffwrdd bys ag ef.

Y fath esiampl a rydd Michael i ni! Y mae yn sefyll yn mhlaid yr Arglwydd a'i blant hyd yn nod yn wyneb y diafol ei hunan. Ond er mor wrol a gonest ydyw, y mae yn amddiffyn ei achos a geiriau cysegredig. Y mae ei ieithwedd yn profi nad oes angen llwon er amddiffyn y gwirionedd. A dengys ei esiampl, yn ddiweddaf, y dylem feithrin teimladau mawrygol ac ymddiriedol yn yr Arglwydd; credu yn ei barodrwydd a'i allu i'n hamddiffyn yn mhob cyfyngder yr arweinir ni iddo ef gan ddiafol. Nis gallwn ni ond yn unig ymddadleu ag ef, ond y mae Un a all ei geryddu yn effeithiol.

Y DIWEDD.

